# YMDDYDDANION

AR

# Hanesion y Beibl.

GAN

J. R.

BALA:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN H. EVANS,

YN SWYDDFA'R "CRONICL."

# AT Y DARLLENWYR.

GYFEILLION,—

Deng mlynedd yn ol dygwyd yr HANESION allan yn llyfr 1s. 6c. wedi ei rwymo mewn llian, ac yn mhen ychydig fisoedd, heb fyned oddeutu i'w cymhell, Sul, gwyl, na gwaith, yr oedd argraffiad o 1,500 wedi eu prynu, heb fyned i'r America; a galwad bob mis am ragor. Ac am na fedrid eu cael, rhoddwyd caniatâd i gyfeillion yn y De ddwyn allan "*Hanes Joseph*," a "*Hanes Esther*," yn llyfrynau bychain arnynt eu hunain, er mwyn cael eu hadrodd. Prynid y rhai hyn ar iddynt ddyfod o'r wasg. Parodd y ffeithiau hyn, a thaer ddymuniadau o bob rhan o Gymru, i ni ddwyn allan ail-argraffiad o'r HANESION, wedi ychwanegu atynt, a llawer mwy na'u dyblu. Dywed y Cyhoeddwr y myn roddi *darlun* o'r Awdwr yn nechreu y llyfr, a'i werthu oll am bris isel.

Ceir yn y llyfr hanesion oeddynt wedi eu cyhoeddi o'r blaen yn y CRONICL, neu yr *Ysgrifbin a'r Dadleuon*, neu y *Pregethau a'r Ymddyddanion*, megys, "Isaac,"—tair penod; "Job,"—pum' penod; "Daniel,"—pum' penod; "Yr Afradlon,"—pedair penod; "Carchariad a Rhyddhad Pedr," —chwe' phenod; a'r "Ddadl Hyfryd yn y Nef." Ceir hefyd hanesion *na* chyhoeddwyd o'r blaen: rhanau o "Hanes Moses," a "Paul," "Yr hwn a anesid yn ddall,"— dwy benod; "Teulu Bethania;" "Y Nos Hon,"—pum' penod; "Paul, Onesimus, a Philemon."

Unig amcan y llyfr yw gwneud ieuenctyd yr Ysgolion Sabbathol yn gyfarwydd â hanesion y Beibl, drwy eu gosod allan mewn dull difyr, eglur, a chywir. Gwelir yn yr

Hanesion athrawiaethau y Beibl mewn ymarferiad, a'r hyn a ganmola ac a gondemnia mewn ymddygiadau heb dderbynwyneb. Ceir yn y llyfr luoedd o ddarnau ydynt wedi eu hadrodd lawer gwaith mewn cyfarfodydd llenyddol, ac a adroddir lawer gwaith eto; a cheir ynddo luoedd o ddarnau na adroddwyd, ond a adroddir wedi cael y llyfr. Credwn y gwnai lyfr manteisiol i ddosbeirth mewn Ysgolion Sabbathol. Nid ei amcan yw troi heibio y Beibl—llyfr yr Ysgol Sabbathol, ond ei arwain i fewn, a gwahodd ieuenctyd a hen i ddyfod i fewn i ystafelloedd y Beibl, ac i edrych ar y darluniau ar hyd eu muriau, a thynu addysg.

Ni chelwn fod iddo gondemnwyr a gwrthwynebwyr. Beiwyd ieuenctyd am adrodd darnau o hono, os na fygythiwyd eu diarddel; ond credwn fod hyn wedi tarddu o genfigen at boblogrwydd yr adroddwyr; ac efallai, weithiau, oddiar genfigen masnach—ofni y bydd Hanesion y Beibl yn sefyll ar ffordd gwerthiad rhywbeth o'u heiddo hwy. Cynrychioli gwahanol bersonau a theimladau fu ymgais benaf prif ysgrifenwyr, pregethwyr, chwareuwyr, ac adroddwyr y byd. Eu llwyddiant yn hyn a hynododd Elias, Christmas, Williams, a Bunyan. Y mae ymddyddanion *Taith y Pererin* yn awr yn cael eu hadrodd gyda dylanwad mawr gan gwmniau yn Lloegr. Os bydd rhyw rai yn dal i ymfoneddigeiddio a dangos eu coethder a'u crefydd drwy ddweyd fod diffyg chwaeth yn yr Ymddyddanion ar Hanesion y Beibl, ymrwymwn ninau, os bydd galwad, i ddangos fod mwy o hyny yn mhregethau, ysgrifeniadau, ac ystumiau y gwyr enwog ydym wedi enwi, ac yn enwedig Christmas a Bunyan. Os yw yn deg i un person geisio cynrychioli gwahanol bersonau a theimladau, y mae yn deg defnyddio dau neu dri mewn ymddyddan i wneud yr un peth

J. R.

# CYNWYSIAD.

# HANESION Y BEIBL.

ADDA.—Genesis ii. a iii.

## PEN. I.

*Adda yn cael Gwraig.*

Gwnaed Adda yn ei *faint.* Ni bu ef erioed yn blentyn, hogyn, na llanc. Y mae myrdd myrddiynau yn y nef na buont erioed yn ganol oed nac yn hen bobl; eithr nid oes neb yno na fuont yn fabanod ond Adda a'i wraig. Gwnaed ef yn ei *ddyddiau goreu.*

*Gwnaeth Duw wraig i Adda.* Er ei fod yn yr ardd, lle y tarddai yr afon, ac y tyfai y prenau; ac er bod yr adar a'r gwâr anifeiliaid o'i ddeutu, edrychai y Creawdwr arno—ystyriai ef ei hunan, a dywedai, "Nid da bod dyn ei hunan."

Arglwydd. Wel, Adda, ai dy hunan yr wyt ti?

Adda. Ië, fy Arglwydd.

Ysbryd. Y mae yr anifeiliaid, y bwystfilod, a'r adar wedi bod gyda thi, Adda, yn cael enwau, a gyfarfyddaist di ag un cydymaith yn eu plith hwy oll?

Adda. Naddo, fy Arglwydd. Nid oedd yr un o honynt yn medru cymdeithasu â mi: yr oeddwn fy hunan yn eu canol.

Ysbryd. A hoffet ti gael un i gymdeithasu â hi, ac i fod yn ymgeledd gymwys i ti?

Adda. Hoffwn, fy Arglwydd.

Ysbryd. Cysga; ymofynaf finau erbyn i ti ddeffro am un i gymdeithasu â thi, ac i fod yn ymgeledd i ti.

Adda. Diolch i ti, fy Arglwydd.

Ysbryd. Wel, Adda, gwelaf dy fod wedi deffro, pa fodd y cysgaist ti?

Adda. Ardderchog; ni ddarfu i mi erioed gysgu mor drwm ac esmwyth: aeth oriau heibio fel momentau.

Ysbryd. Dyma yr ymgeledd gymwys oeddwn wedi addaw i ti.

Adda. Gwelaf hi, fy Arglwydd, ac y mae wrth fy modd. Yr wyf yn teimlo wrth edrych arni fel pe byddai yn ddarn o honwyf; ac y mae hi yn asgwrn o'm hasgwrn i, a chnawd o'm cnawd i; ac yr wyf am ei galw hi yn *wraig*, canys o

wr y cymerwyd hi. Y mae yn perthyn yn nes i mi na phe buasai yn fam neu yn ferch; mewn gair, fy hunan yw hi. Y mae yn perthyn i mi—i gyd-ddyoddef a chydfwynhau, fel un o aelodau fy nghorff.

## PEN. II.

*Adda yn dysgu i Efa siarad.*

ADDA. A fedr hi siarad?

YSBRYD. Y mae tafod gan dy wraig, ond ni fedd iaith. Rhaid i ti ddysgu hòno iddi.

ADDA. Wel, fy ngwraig, y mae hi yn ddiwrnod braf, a gawn ni fyned i roddi tro?

EFA. Dim siarad. Dim iaith.

ADDA. Fy nghariad, cymer fy mraich, ac edrych i fyny. Dacw yr haul. Dywed *Haul.*

EFA. Haul.

ADDA. Da iawn; nid oes dim modd swnio y gair yn well. Deui i siarad yn union. Dyma bren afalau; dywed *Pren afalau.*

EFA. Pren afalau.

ADDA. Ardderchog! Ond dacw y lleuad yn codi, a ser yn dyfod i'r golwg.

EFA. Lleuad yn codi, a ser yn dyfod i'r golwg.

ADDA. Da iawn, fy anwylyd. Y mae genyt well tafod na myñ. Ni byddaf mwy heb un i gymdeithasu â mi.

EFA. Pwy wnaeth yr ardd, y llew, yr oen, a'r golomen; yr haul, y lleuad fawr, a'r holl leuadau bychain oedd gyda ni neithiwr?

ADDA. Y Crëwr, fy anwylyd, â gair o'i enau, mewn chwe diwrnod, a wnaeth nef a daear, a'u holl luoedd hwynt.

EFA. Y Crëwr! pwy yw hwnw? ac yn mha le y mae yn byw?

ADDA. Mae efe yn byw yn mhob man.

EFA. A ydyw efe yn byw yn yr haul, y lleuad, a'r lleuadau bach? a fydd efe yn dyfod yma weithiau?

ADDA. Ydyw, y mae efe yn byw yn mhob man, ac y mae yma bob amser. Bydd efe yn ein gweled ni pan na byddwn ni yn ei weled ef.

EFA. Pa beth yw efe gan hyny?

ADDA. O! ysbryd anweledig yw efe; ond bydd yn

cymeryd corff weithiau er mwyn i ni ei weled, a medru siarad âg ef.

Efa. Rhyfedd iawn! Byddai yn dda genyf ei weled ef eto, a chael siarad âg ef; canys gallaf siarad yn awr y faint a fynwyf. Pa beth yw hwn, Adda? pa beth yw y llall? a pha beth yw y trydydd?

Adda. Cymer bwyll, fy anwylyd, nid oes atal ar dy dafod, na diwedd ar dy ofyniadau; nid oes modd i mi dy ateb: rhaid i'm tafod i gael gorphwys weithiau.

## PEN. III.

### *Efa yn ymddyddan a'r Sarff.*

Efa. Y mae yn rhaid i mi gael siarad; os na chyfarfyddaf â rhyw un yn medru siarad, siaradaf â mi fy hun; canys yr ydwyf wedi cael blas ar holi. Dacw sarff yn dyfod; cerdda ar ei thraed. Y mae hi yn frith ac yn brydferth! A fedr hi siarad, tybed? Medr, feddyliwn.

Sarff. Dydd da, Efa.

Efa. Ni wyddwn dy fod yn medru siarad. Bu Adda a minau yn ymdeithio yn mhlith yr anifeiliaid, y bwystfilod, a'r adar; ac ni chyfarfuom âg un o honynt yn medru siarad. Cafodd Adda lawer o drafferth i'm dysgu i; pa le y dysgaist ti?

Sarff. Nid myfi sydd yn siarad; ond rhyw un sydd ynof fi.

Efa. Rhyw un sydd ynot ti! pwy yw hwnw?

Sarff. Ni waeth pwy.

Efa. Wel, o ba le y daethost ti?

Sarff. Bum yn rhoddi tro drwy'r ardd yma—teithiais hi bron oll—y mae hi yn ardderchog! Y mae yma y blodau mwyaf dymunol i'r golwg, a'r ffrwythau mwyaf melus i'r archwaeth. Ai gwir yw nad oes caniatâd i Adda a thithau fwyta o ffrwyth prenau yr ardd?

Efa. Na, ni gawn fwyta o ffrwyth pob pren ond un.

Sarff. Pa un yw hwnw?

Efa. Y pren mawr sydd yn nghanol yr ardd; os bwytawn ffrwyth hwnw, byddwn feirw.

Sarff. Pa beth yw enw y pren?

Efa. Pren gwybodaeth da a drwg.

Sarff. Ah! yr wyf yn deall! Un cenfigenllyd yw eich

Duw chwi; gwybod y mae os bwytewch hwnw y byddwch megys duwiau, mor ddoeth ag yntau, i wybod da a drwg.

EFA. Na, nid wyt yn deall yr ymadrodd, "gwybodaeth da a drwg." Y meddwl yw, pren prawf ein hufudd-dod ni, i wybod pa un ai da ai drwg ydym.

SARFF. Taw, nage; fy esboniad i sydd yn iawn. Bwyta di ei ffrwythau, nid oes perygl i ti farw.

EFA. Yn wir ni wn i ddim.

SARFF. Mi wn i; ond gad i ni fyned yn nes at y pren. Dacw afal braf ar y gangen uchel acw! a gaf fi ei gyrhaeddyd?

EFA. Na, paid.

SARFF. Gwnaf yn wir, y mae efe yn afal digyffelyb.

EFA. Ydyw, yn sicr; ni welais erioed ei brafiach o liw a llun; y mae ei fochau yn gochion, a'r gweddill o'i wyneb fel aur melyn.

SARFF. Cymer ef yn dy law.

EFA. Na wnaf, ffrwyth y pren gwaharddedig ydyw.

SARFF. Cymer ef yn dy law: paid a bod yn ffol; dyna, profa ef.

EFA. Na wnaf, ar fy mywyd; na themtia fi.

SARFF. Profa ef, y beth ynfyd; a chred fi, ni byddi farw.

EFA. Rhoddais ef wrth fy ffroenau, ac y mae ei arogl yn beraidd; a chyffyrddais âg ef â'm gwefusau; ni wnaf ddim rhagor, cymer di ef bellach.

SARFF. Profa ef; a chred fi, nid oes perygl.

EFA. Wel, mi roddais fy nant arno, ac a archwaethais ei sudd. Mae ei felusder yn rhagori ar ei dlysni a'i berarogl. Ni phrofais erioed ddim pereiddiach; ac yr wyt yn dweyd y byddaf yn ddoethach wedi ei fwyta?

SARFF. O! byddi.

EFA. Wel, yn wir, mi fentraf ei fwyta. Y mae yn dda! ond nid wyf yn teimlo fy hun yn gallach.

SARFF. O! rhaid i'r ffrwyth gael amser i effeithio felly; a rhaid i dy wr fwyta hefyd: cymer un o'r ffrwythau iddo ef. Dyma un braf!

EFA. Rhaid, O! rhaid, i Adda fwyta, gan fy mod i wedi bwyta. Gwnaf iddo fwyta, ac onide, mi a'i poenaf ef i farwolaeth; ac os rhaid marw, ni waeth marw y naill ffordd na'r llall.

## PEN. IV.

*Efa yn hudo Adda.*

Adda. Wel, fy ngwraig anwyl! pa le y buost, a pha beth a welaist tra y bum i yn gorphwys?

Efa. Daeth sarff i'm cyfarfod, yn cerdded yn syth, un o'r rhai harddaf a welais erioed; ac yr oedd yn medru siarad. Y mae rhywbeth rhyfedd iawn yn y siarad yma.

Adda. Pa beth a ddywedodd?

Efa. O! yr oedd yn siarad yn ardderchog! Ac yn y diwedd gofynodd ai gwir oedd yr hyn a glywsai, na chaem ni fwyta o ffrwyth holl brenau yr ardd? A dywedais y caem fwyta o ffrwyth holl brenau yr ardd, ond pren gwybodaeth da a drwg sydd yn y canol. Taerai hithau mai cenfigen oedd yn peri i'n Duw gadw hwnw oddiwrthym, am yr effeithiai i'n gwneud yn ddoeth fel yntau; a cheisiodd genyf fi fwyta.

Adda. Ni ddarfu i ti ddim cydsynio, ai do?

Efa. Ymresymais fy ngoreu yn erbyn. Pa beth oedd y creadur, fy ngwr? A yw pob sarff yn medru siarad?

Adda. Nac ydynt. Yr wyf yn tybio mai rhyw elyn i ddyn gyfarfyddaist di, wedi cymeryd meddiant o gorff yr harddaf o'r creaduriaid.

Efa. Taw.

Adda. Ydwyf yn wir. Ni ddarfu i ti wrando arno, ai do?

Efa. Gofynodd i mi ddyfod at bren canol yr ardd, ac aethum. Dangosodd un o'r afalau, a gofynodd a gai ei estyn. Na, paid, ebe finau; ond estynodd ef, ac yr oedd yn dlws. Cymer ef yn dy law, ebai hi; na wnaf, ebe finau: ffrwyth y pren gwaharddedig ydyw. Chwarddodd hithau; ac yn lle myned yn destyn gwawd iddi, cymerais ef yn fy llaw. Profa ef, ebe hi; na wnaf, ebe finau. Profa ef, y beth ynfyd, ebe hi drachefn. Yna rhoddais ef wrth fy ffroenau. Ac O! yr oedd ei arogl yn hyfryd: methais beidio rhoddi cusan iddo. Profa ef, ebe hi wedy'n; a rhoddais fy nant ynddo. Peth hawdd oedd hyny, canys yr oedd mor feddal! Profais y sudd, ac yr oedd yn felus. Ar hyn sicrhaodd y sarff nad oedd dim perygl, a *mentrais fwyta.*

Adda. A thi a fwyteaist o ffrwyth pren canol yr ardd! Wel, yn wir, nis gwn pa beth fydd y canlyniad. Mi wn

hefyd; y ddedfryd yw, "*Gan farw y byddi farw.*" Y mae yn debyg na roddir fi i farwolaeth o'th achos di. Bydd yn rhaid i ti farw, a gadewir fi eto yn weddw. Pa beth a wnaf?

Efa. O! fy ngwr! yr oeddwn yn tybied y buasit tithau yn bwyta. Dywedais hyny wrth y sarff; ac estynodd hithau un o'r ffrwythau. Dyma efe. Y mae mor dlysed, ac yr wyf yn sicr ei fod mor felused a'r un a fwyteais inau.

Adda. Na wnaf. A raid i mi farw am y mynit ti farw?

Efa. O! fy ngwr, a adewi di i mi farw fy hunan? A elli di fyw yn yr ardd fawr yma hebwyf, ac heb neb i siarad â thi? Bydd yn fwy chwith i ti fod dy hunan yn awr na chynt, wedi i ni gael blas ar gymdeithas y naill a'r llall. Gad, O! gad i ni naill ai marw ai byw gyda ein gilydd!

Adda. Y ddynes! ystyria pa beth wyt yn geisio.

Efa. Dim ond ceisio genyt fwyta afal er fy mwyn, a hwnw yn un o'r rhai melusaf; ac nid yw yn bosibl na wnei hyny ar ol dy holl broffes o serch tuag ataf?

Adda. Gwnawn, bwytawn fil o afalau chwerwon er dy fwyn: nid dyna sydd yn gwasgu arnaf; ond pa beth ddaw o'r cyfamod? Gad lonydd i mi, Efa.

Efa. Edrych ar yr afal yma—cymer ef yn dy law—dod ef wrth dy ffroenau—rho gusan iddo—dyro dy ddant arno. Dyna; brofaist ti y sudd?

Adda. Do; ac y mae yn beraidd!

Efa. Wel, yn wir, ni waeth i ti ei fwyta, y mae y cyfamod wedi ei dori, os torir ef hefyd; canys y mae edrych i chwenychu yn dori deddf; ac yr wyt wedi chwenychu, edrych, teimlo, cusanu, ac archwaethu.

Adda. Ydwyt ti yn meddwl fy mod wedi tori y cyfamod? Os felly, bwytâf yr afal, a chymeraf y canlyniad.

Efa. Diolch i ti, fy ngwr. Cawn, bellach, naill ai marw ai byw gyda ein gilydd.

Adda. Cawn, Efa.

## PEN. V.

*Dedfryd Efa, Adda, a'r Sarff.*

Efa. Pa fodd y cysgaist neithiwr, fy anwyl briod?

Adda. Canolig, yn wir, fy ngwraig. Yr oedd fy nghydwybod euog yn fy neffro. Gobeithio i ti gysgu; ond y mae y wawr yn tori, gwell i ni godi.

Efa. Yr wyf fi yn fwy esmwyth wedi i ti gymeryd o'r ffrwyth; ac mi gysgais yn well neithiwr nag echnos. Ond

mi glywaf swn rhywbeth yn rhodio yn yr ardd. Gwrando! Y mae yn nesu! Dyna ei lais! ac nid yw yn debyg i swn y sarff nag un creadur a glywais erioed o'r blaen.

ADDA. Dystawrwydd! Llais yr Ysbryd mawr yw: ïe, yn wir, yr wyf fi yn ei adnabod.

EFA. Pa beth a wnawn? I ba le yr awn? O! yr ydym yn ddau noethion! Gwell i ni fyned i ymguddio. Gadawer i ni fyned gyda ein gilydd i'r llwyn tew.

ADDA. Ni waeth i ni beidio; y mae yr Ysbryd mawr yn sicr o'n cael.

EFA. Gad i ni fyned beth bynag. Dyna; y mae yn anhawdd iawn i neb ein gweled yn y fan yma.

ADDA. Y mae efe yn gwaeddi, *Adda.*

EFA. Paid ag ateb.

ADDA. Dyna efe yn galw eto yn uwch, *Adda, Adda.*

EFA. Paid ag ateb. O! paid.

ADDA. Yn wir, ni waeth ateb na pheidio, y mae yn sicr o'n cael. Dyna efe yn bloeddio eto yn uwch o lawer, Adda, *Adda,* ADDA, pa le yr wyt ti?

EFA. Paid a'i ateb. O! paid, paid! Lleddir fi yn wir! Bydd yn rhaid i mi farw. Paid, O! paid a'i ateb.

ADDA. Y mae'r Ysbryd mawr yn galw,
EFA. Paid dweyd lle'r y'm!
ADDA. Geilw Adda wrth ei enw,
EFA. Paid dweyd lle'r y'm!
ADDA. Cym'ryd arno mae wrth chwilio,
Bydd yn sicr o'n datguddio;
Ni waeth ini ddweyd na pheidio;
EFA. O! paid a dweyd!

---

## ABRAHAM.—GEN. XVI., XVII., XVIII., XXI., XXII.

### PEN. I.

*Abraham yn ymadael a'i wlad.*

ANGEL Y CYFAMOD. Clyw, Abram, fy ngwas? Yr wyt wedi dy fagu yn Caldea eilunaddolgar. Nid rhyfedd dy fod wedi syrthio i bechod parod dy wlad; ond yr wyf am i ti fyned o blith yr eilunaddolwyr i'r wlad a ddangoswyf i ti, ac mi a'th wnaf yn genhedlaeth fawr.

ABRAM. Yr wyf wedi diflasu yma, ac yn foddlon myned; ond prin y medraf gredu y gwnai fi yn genhedlaeth fawr,

canys ni feddaf blant, ac yr wyf yn 75 oed, a'm priod yn 65; ond dangos y wlad a roddi i mi.

ANGEL. Na ddangosaf.

AB. Dywed beth yw ei henw.

ANGEL. Na wnaf.

AB. Dangos i mi y ffordd i gychwyn.

ANGEL. Na wnaf. Cymer dy wraig, a'th deulu, a'th anifeiliaid, a chychwynwch y ffordd fynoch; minau "a'ch cyfarwyddaf ac a'ch dysgaf chwi yn y ffordd yr eloch." Byddaf weithiau yn dangos y ffordd i fy mhlant, a phrydiau eraill yn gadael iddynt fyned y ffordd a fynont; ambell waith yn eu cymeryd i ben y bryniau, ac yn dangos y ffordd iddynt, ac amseroedd eraill yn eu gadael yn yr anialwch, gan eu harwain gam a cham yn fy llaw. I'm dilyn fel hyn y mae eisieu mwyaf o ffydd.

AB. Y mae hyn yn rhyfedd hefyd—myned allan heb wybod i ba le! A oes yno lawer o ffordd?

ANGEL. Ni ddywedaf; cei weled. Mentra di hi.

AB. Yr wyf fi yn foddlon. Y mae fy ngwraig a'm perthynasau yn foddlon; ac yr ydym yn barod wedi trefnu ein clud a'n hanifeiliaid.

ANGEL. Dyma y wlad! Dos i ben y bryn acw, ac edrych i'r gogledd, a'r dwyrain, a'r gorllewin, a'r holl dir a weli, i ti y rhoddaf ef, ac i'th had byth; a gwnaf dy hiliogaeth fel llwch y ddaear. Ac yn awr dewis dy le i breswylio.

AB. Yr wyf fi yn dewis gwastadedd Mamre, a lle bynag y byddaf yr wyf am adeiladu allor, ac yn galw ar enw yr Arglwydd.

## PEN. II.

*Abraham yn cael addewid am had.*

ANGEL. Clyw, Abram, yr wyf wedi dyfod i adnewyddu fy nghyfamod â thi; "Nac ofna, myfi yw dy darian, a'th wobr mawr iawn."

AB. Angel da, nid yw yr addewid am deulu i mi wedi ei chyflawni eto, ac yr wyf yn myned yn hen. Yr oeddwn yn 75 a'm priod yn 65 yn cychwyn o Haran: y mae er hyny wyth mlynedd; yr wyf fi yn awr yn 83, ac y mae hithau yn 73. Caethwas wedi ei eni yn fy nhŷ, sef Eleazar o Damascus, fydd fy etifedd; ac o hono ef y daw yr had sydd i fod mor aml â llwch y ddaear, os ceir hwynt.

ANGEL. Nage, nid hwn fydd dy etifedd; ond un a ddaw o'th ymysgaroedd di. A fedri di gyfrif y ser acw?

AB. Na fedraf, fy Arglwydd.

ANGEL. Y mae yn haws cyfrif y rhai yna nag fydd cyfrif dy had di.

AB. Yr wyf yn dy gredu, Arglwydd, er "yn erbyn gobaith."

SARAI. Yn wir, nid wyf fi yn credu; a pha reswm sydd i gredu? Dyma fi yn 73 a thithau yn 83 oed. Yr oeddym yn ddigon hen pan gawsom yr addewid, ac yr ydym yn awr wedi ei chael er's wyth mlynedd; a'm cyngor i yw i ti briodi Agar ein morwyn.

AB. Cydsyniaf; ond nid ymddengys, fy mhriod, dy fod wrth dy fodd eto. Paham yr ydwyt mor ddrwg dy naws?

SARAI. Paham, yn wir! Wedi i ti briodi Agar, a beichiogi o honi, y mae yn fy niystyru i bob cyfle a ga. Ni arosaf gyda hi; ni wnaf chwaith. Rhaid dy fod yn cefnogi yr eneth. Barned yr Arglwydd rhyngom, "a bydded fy ngham i arnat ti."

AB. Cymeryd dy gyngor di ddarfu i mi, Sarai; ac y mae yn galed dy fod yn codi fel hyn yn fy mhen. Ofnwyf ein bod wedi gadael ffordd rhagluniaeth. Ond y mae yr eneth yn dy law di; gwna fel y mynech â hi; cystuddia hi, neu rhybuddia hi i ymadael.

SARAI. Yr wyf wedi ei chystuddio, ac yn awr yr wyf yn gorchymyn iddi fyned dros y drws.

ANGEL. Fy ngwas Abram! Yr wyf yn galw eto i adnewyddu fy nghyfamod â thi, drwy sicrhau y byddi yn dad cenhedloedd lawer; ac i gyfnerthu dy ffydd, yr wyf yn chwanegu at enwau dy briod a thithau. O hyn allan, nid Abram, ond *Abraham*, tad tyrfa, fydd dy enw di; ac nid Sarai, ond *Sarah* fydd ei henw hithau. A'r pryd hyn y flwyddyn nesaf hi a esgora ar fab, a thi a elwi ei enw ef Isaac. Rhoddaf i ti, ac i'th had, wlad Canaan yn etifeddiaeth, a byddaf yn Dduw i chwi. Fel hyn yr wyf yn adnewyddu fy nghyfamod; ac yr wyf am i tithau ei selio, drwy *enwaedu* pob mab yn 8 niwrnod oed.

AB. Fy Arglwydd! Nid oes fawr er pan elwaist arnaf o'r blaen; ond at ba le mae dy wyneb di a'th ddau gyfaill heddyw?

ANGEL. Edrych yr ydym tua Sodom.

AB. Foneddigion! Y mae yn awr yn ngwres y dydd, ac yn boeth iawn. Aroswch gyda mi o dan y pren yma; cewch ddwfr i olchi eich traed, a thamaid o fwyd fel y medrwn ni ei wneud.

ANGEL. Diolch i ti am y gwahoddiad; ond pa le mae dy wraig?

AB. Y mae hi yn y babell: hi oedd yn coginio; oddiwrth ei bwrdd hi yr oeddwn yn dwyn yr ymborth i chwi.

ANGEL. Deuaf yma eto yn mhen tri chwarter blwyddyn, ac wele mab fydd i Sarah.

SARAH. Myfi gael mab yn 90 oed! Hy! ha! ha! ha!

ANGEL. Paham y chwarddodd Sarah?

SARAH. Ni chwerddais, fy Arglwydd.

ANGEL. Do, clywais di yn chwerthin, a gwn pa fath chwerthiniad ydoedd. Nid gwên o lawenydd a diolch, ond Ha, ha, wawdlyd, ac anghrediniol. Gwnaf, mi ddychwelaf yma yn mhen tri chwarter blwyddyn, a byddi di y pryd hyny yn cofleidio mab.

## PEN. III.

*Isaac yn cael ei eni a'i ddiddyfnu.*

SARAH. Syndod! Y mae Duw yn cyflawni ei addewid. Dyma fi yn 90 oed yn rhoddi bron i fab i Abraham. Ni pheidiwn yn fy myw a chwerthin, ac yr wyf yn sicr fod fy holl gymydogion, yn enwedig pob merch a glyw am danaf, yn chwerthin. Gwnaeth Duw i mi chwerthin. Drwg genyf na buasai genyf fwy o amynedd i ddysgwyl wrth ei addewid yn ei ffordd ef ei hun. Yr wyf yn credu yn awr y bydd fy nheulu fel llwch y ddaear, tywod y môr, a ser y nef.

AB. Gad i minau gael y plentyn yn fy mreichiau. Ië, Isaac yw ei enw ef. Y mae yn awr yn 8 niwrnod oed; rhaid ei enwaedu yn ol y gorchymyn.

SARAH. Ai tybed na byddai yn well ei ddiddyfnu?

AB. Bum inau yn meddwl hyny, ac yr wyf yn penderfynu gwneud gwledd ar y diwrnod hwnw, a gwahodd fy holl berthynasau, fy hyfforddus weision, a'm cymydogion at y bwrdd. Ca Agar a'i mab Ismael hefyd fod yma.

SARAH. Boddlon wyf fi, ac y mae y peth yn eithaf priodol.

AB. Wel, Sarah, dyna y wledd drosodd. Aeth

pob peth heibio yn ddedwydd. Yr oedd ein hyfforddus weision, ein bugeiliaid, a'n cymydogion yn dotio at y plentyn; ond nid oeddit ti, ar ddiwedd y wledd, ac nid ydwyt eto yn edrych mor siriol ag y dymunwn i.

SARAH. Na, nid wyf yn teimlo yn ddedwydd chwaith. A ddarfu i ti ddim sylwi ar Ismael, oedd wrth dy ochr, yn mingamu ac yn chwerthin yn wawdlyd am ben Isaac bach oedd yn fy ymyl i? Ië, hen hogyn ugain oed fel yna yn dirmygu ein bach pum oed ar ddydd gwledd ei ddiddyfniad! Yr wyf yn sicr fod ei fam wedi ei ddysgu. Y pethau cas ydynt. Ni arosaf yma gyda hwynt. Rhaid i ti fwrw y ddau dros y drws, onide, gadawaf fi di.

AB. Fy anwyl Sarah, yr ydwyt wedi ffromi gormod. Nid oedd y llanc yn meddwl dim niwed. Ni ellir atal plant i fod yn gellweirus, yn enwedig ar ddiwrnod gwledd. Y mae Ismael ac Isaac yn ffrindiau. Bydd yn dda i'r bychan gael myned gydag ef i chwareu. Da Sarah, paid a bod mor ddrwgdybus.

SARAH. Yr wyf fi yn dweyd y rhaid i ti fwrw y ddau allan, ac onide, af fi ac Isaac i ffordd; paid a meddwl y ca mab y gaethes hon gyd-etifeddu a'm mab i.

AB. Wel, Sarah, rhaid ufuddhau, er mor galed. Cânt fyned dros y drws boreu yfory.

## PEN. IV.

### *Galwad am aberthu Isaac.*

ANGEL. Abraham! Abraham! dyma fi wedi galw eto. Myfi fu yn peri i ti fyned o dy wlad, ac yn rhoddi addewid i ti am had. Ymwelais â thi lawer gwaith i gadarnhau fy nghyfamod. Gelwais heibio dy babell yn ngwastadedd Mamre, pan oeddwn yn myned tua Sodom. Telais ymweliad â dy deulu y flwyddyn ddilynol i gyflawni fy addewid â Sarah. Y mae cryn amser yn awr er pan welsom ein gilydd. Dyma fi wedi dyfod i ymweled â thi yn awr yn ngwyliadwriaethau y nos. Ydwyt ti yn effro, Abraham?

AB. Ydwyf; llefara, Arglwydd, y mae dy was yn gwrando. Rhyw air da sydd genyt i mi a'm teulu bob amser.

ANGEL. Pa faint sydd er pan y rhoddais ymweliad neillduol yn dy dŷ o'r blaen?

AB. Fy Arglwydd, y mae 25 mlynedd; y mae Isaac yma yn 25 oed. Yr oedd Sarah y pryd hyny yn 90, a minau yn 100; ac y mae hi yn awr yn 115, a minau yn 125.

ANGEL. Pa fodd y mae Isaac yn dyfod yn mlaen?

AB. Ardderchog! Ni bu erioed blentyn mwy diniwed. Yr wyf fi yn ei hoffi gymaint ag sydd bosibl, ac y mae ei fam yn ei garu yn fwy nag sydd bosibl. Plentyn ei fam cedd, a llanc ei fam ydyw. Yn y tŷ gyda hi y mae y rhan fwyaf o'i amser.

ANGEL. Nid yw y gorchymyn sydd genyf i'w roddi i ti heno mor ddymunol.

AB. Gad i mi ei glywed, Arglwydd, a cheisiaf ei wneud. Nid oes arnaf ei ofn. Ni ofynaist ddim erioed yn afresymol; a gwn y "gwna Barnydd yr holl ddaear farn" y waith yma eto.

ANGEL. Y mae yr offrwm a ofynaf yn awr y peth penaf a feddi. Ni ofynais ei bath gan ddyn erioed. Y mae arnaf arswyd dweyd.

AB. Dywed, Arglwydd. Y mae genyf ddigon o anifeiliaid, ac ni byddai yn ormod genyf eu hoffrymu oll.

ANGEL. Yr wyf fi yn gofyn mwy na dy holl anifeiliaid. Ni waeth dweyd yn eglur, *Gofynaf* ISAAC *dy fab! dy unig fab! mab yr addewid, yr hwn a hoffaist.*

## PEN. V.

### *Abraham yn boddloni.*

NATUR. Paid gwrando, Abraham. Gadawodd Duw di i fyned yn hen cyn rhoddi addewid am fab: ac wedi ei rhoddi bu 25 mlynedd heb ei chyflawni; ond addawodd a dyblodd yr addewid y byddai i ti gael mab, a chael had o hwnw mor lluosog â ser y nef, llwch y ddaear, a thywod y môr. Ac yn awr y mae efe wedi rhoddi mab i ti, ond heb haner gyflawni ei addewid eto; ac os yw yn myned i gymeryd ei haner rhodd oddiarnat fel hyn, y mae Duw yn ymddwyn yn annheilwng o hono ei hun; ydyw, yn annheilwng o ddyn.

AB. Taw, Natur, a llefaru yn galed a chableddus am fy Nuw i.

NATUR. Llefaru yn galed, yn wir! Yr wyf fi yn dweyd fy nheimlad. Os wyt yn myned i ladd Isaac, a ddywedi di

wrth ei fam ef cyn cychwyn? ac a ydwyt yn dysgwyl iddi hi fod yn foddlon? Bydd yn sicr o ymaflu yn ei mab, a chodi yr holl dŷ yn dy erbyn. A phe cymerit ef heb yn wybod iddi, a ddeuit ti yn ol, a dweyd wrth ei fam dy fod wedi lladd ei hunig anwyl blentyn? Byddai yn sicr o ddyrysu ei synhwyrau.

FFYDD. Taw, Natur. Y mae Abraham wedi cael digon o brawf ar ei Dduw, ac heb erioed gael ei siomi ynddo. Gwyrth oedd iddo gael Isaac; a phe byddai iddo eto fentro ar addewid Duw, a'i ladd, medrai efe ei adgyfodi heb wneud mwy o wyrth nag a wnaethai o'r blaen.

AB. Gwir iawn.

FFYDD. Ac heblaw hyny, y mae ffydd Sarah yn gryfach nag y bu. Y mae llawer mam wanach na hi, ac yn gwybod llai am Dduw, wedi dyoddef colli ei hunig blentyn, ac wedi medru canu, "Aethum yn fud, ac nid agorais fy ngenau; canys ti, Arglwydd, a wnaethost hyn."

AB. Mentraf, beth bynag, heb ddweyd wrth Sarah. Efallai y trefna Duw ryw ffordd o waredigaeth, fel na raid byth glwyfo ei theimladau. Y mae yn dechreu goleuo, a'r wawr ar dori; codaf fi.

SARAH. Paham, fy anwyl briod, yr wyt yn cyfodi mor fore heddyw?

AB. Y mae yr angel neithiwr wedi peri i mi fyned i dir Moriah, ac Isaac gyda mi; a dywedai y cawn gyfarwyddiadau pa beth i'w wneud wedi cyrhaedd yno.

SARAH. A oes yno lawer o ffordd?

AB. Oes, dros 40 milltir.

SARAH. A fyddwch chwi yn hir cyn dychwelyd?

AB. Nid wyf yn sicr pa hyd. Ond fy nau ben gwas, cyfrwywch yr asyn, holltwch goed, a dodwch hwy arno. Bydd arnaf eisieu hefyd y gyllell ladd, a thân; canys yr wyf yn myned i offrymu. Cychwynwn yn foreu, fel y gallwn gerdded yn araf. Dyma y trydydd dydd!

ISAAC. Pa le y mae y fan, fy nhad?

AB. Nis gwn, fy mhlentyn; yr wyf yn dysgwyl cael rhyw arwydd oddiwrth yr Arglwydd. Yr oll a wn i am y lle yw mai mynydd ydyw ar dir Moriah.

ISAAC. Fy nhad! dacw rhyw gwmwl goleu ar ben y bryn sydd yn ymyl y pentref acw. Yr wyf yn sicr na welais erioed gwmwl tebyg iddo. Gallwn dybio fod mellt yn chwareu o'i amgylch.

Ab. Dacw y lle yn ddiau. Brysiwn at odrau y mynydd lle y mae y cwmwl ar ei ben a mellt yn fflachio o hwnw.

Isaac. Dyma ni wrth droed y mynydd, nhad.

Ab. Fy nau was, aroswch chwi gyda'r asyn: af finau a'r llanc Isaac i ben y mynydd i addoli, a dychwelwn.

Gwas. Ië, fy meistr; ond mae y coed, y tân, a'r gyllell yn ormod i chwi i'w cario.

Ab. Gallwn wneud; nid yw y pellder yn fawr, na'r tylau yn serth. Cymeraf fi ofal y tân a'r gyllell, a charia Isaac y coed: y mae efe yn ieuanc a chryf.

Isaac. Pa fodd y mae hi yn dyfod, fy nhad? Yr wyt yn ddystaw iawn, ac yr oeddwn inau yn myfyrio.

Ab. Am ba beth yr oeddit yn myfyrio, fy mab?

Isaac. Meddwl yr oeddwn mai od iawn yw ein bod yn myned i offrymu heb fod genym oen. Y mae y coed genyf fi, a'r tân genyt tithau; ac y mae genyt ti gyllell! Rhaid dy fod yn meddwl lladd rhywbeth; ond nid oes yma oen! Y mae y peth penaf yn ol! Pa le y mae oen y poeth offrwm, fy nhad?

Ab. Fy mab! fy——mab!

Isaac. Paham yr wyt yn wylo, fy nhad?

Ab. Rhyw ddeigryn ddaeth o rywle i'm llygaid! "Duw a edrych iddo ei hun am oen y poeth offrwm." Tyr'd ti yn dy flaen, fy mhlentyn. Dyma y fan. Yn awr am adeiladu yr allor. Casgla di y pridd a'r ceryg, adeiladaf finau hi. Dyna hi yn ddigon uchel; estyn yma y coed, fy mab. Dyna bob peth yn barod!

Isaac. Nage, fy nhad, nid oes yma oen eto!

Ab. Wel, nac oes, fy mhlentyn. Nid wyf yn gweled fod Duw yn darparu. Gan hyny, ni waeth i mi ddweyd yn eglur, *ti yw yr oen.*

Isaac. Yr oeddwn wedi meddwl hyny er pan ofynais ar ochr y bryn, "Pa le y mae oen y poeth offrwm?" Yr wyf fi yn foddlon, fy nhad. Y mae genyf finau ffydd yn Nuw. Gwyddost y gallwn ddianc, neu gallwn dy drechu di; canys llanc 25 oed wyf fi, a thithau yn hen wr 125. Nid oes eisieu i ti fy rhwymo, nhad; gorweddaf fi ar y coed.

Ab. Na, fy mhlentyn, gwell dy rwymo. Nid oes wybod pa beth a wna natur pan godir y gyllell.

Isaac. Wel, rhwyma fi, nhad. Ond paham yr wyt yn wylo? O! paid a wylo! Dyro gusan ffarwel i mi. Dyna fi yn barod.

AB. Ië, dyma y gyllell i fyny, ac yn myned i ddisgyn.

ANGEL. ABRAHAM! ABRAHAM! *na ddod dy law ar y llanc.* Tyn ef i lawr, datod ei rwymau, a chymer yn ei le yr hwrdd yna sydd yn dy ymyl. Dyna oen y poeth offrwm wedi i mi ddarparu. Nid oeddwn i yn ameu dy ffydd o'r blaen, ac ni amheua neb hi mwy.

ISAAC. Paham yr wyt yn wylo yn awr wrth ddatod y llinynau a fy ngollwng yn rhydd, fy nhad?

AB. Ni wn i ddim, fy mhlentyn. Dagrau o lawenydd a diolch yw y rhai hyn. Rhaid i'r lle hwn gael ei alw byth mwy yn "Jehofa Jire; yr Arglwydd a edrych ac a ddarpara."

ISAAC. Yr oeddwn i yn meddwl y buasai Duw yn edrych iddo ei hun am oen.

AB. Yr oeddwn inau yn dweyd hyny. Ond awn adref bellach.

ISAAC. Pa un o honom a adrodda yr hanes wrth fy mam, nhad?

AB. Dywed ti ef, fy mhlentyn i.

* * * * *

SARAH. Wel, diolch i Dduw, a diolch i dy dad a thithau! Yn wir, rhyfedd yw pob un o honoch. Diolch am beidio amlygu y brofedigaeth i mi. Pe yn gwybod, buaswn yn sicr naill ai dyrysu y cynllun, neu ddyrysu fy synhwyrau, a lladd fy hun.

---

## ISAAC A'I DEULU.—GEN. XXIX.

### PEN. I.

*Isaac yn rhoddi y fendith i Esau.*

ISAAC. Rebecca, *Rebecca*, REBECCA! wyt ti yn fy nghlywed i? Yr wyf wedi galw lawer gwaith. Ydyw Esau yn y ty?

REBECCA. Na, y mae newydd fyned allan; ac yr oedd ei gawell saethau ar ei ysgwyddau.

ISAAC. Dywed wrtho am ddyfod yma yn union, fod ei dad eisieu ei weled.

ESAU. Wele fi, fy nhad; pa beth sydd?

ISAAC. Tyred yn nes, fy mhlentyn; gwrando. Yr wyf fi

yn myned yn hen. Gwyddost fy mod yn ymyl cant a deugain oed. Rhaid fod dydd fy marwolaeth yn agos. Yr wyf yn awr bron yn ddall. Nid yw y byd wedi cau ei lygaid arnaf fi: ond yr wyf fi wedi cau fy llygaid arno ef. Yr wyf am wneud fy ewyllys, a gadael y cwbl i ti; canys y mae yn well genyf di na Jacob yna——ydyw y drws yn nghauad?

Esau. Ydyw, nhad.

Isaac. A oes yna neb yn gwrando?

Esau. O, nac oes.

Isaac. Y gwir yw, ni dda genyf fi dy frawd. Cymer arno fugeilio y praidd a'r mynod o amgylch y ty; y mae y rhan amlaf *yn* y tŷ. Dilyna ei fam i bob man. Ni cha hi wneud cwpanaid o gawl na bydd efe a'i fys ynddo. Ond yn sicr, yr wyt ti yn medru coginio yn well na'r ddau. Er fy mod i yn hen a gwan, nid wyf wedi colli blas bwyd. Cymer dy offer—dy fwa a'th gawell, dos i'r maes, saetha aderyn neu ddau, a'r brasaf o'r ceirw, a gwna fwyd blasus i mi fel y byddi yn arfer; yna byddaf yn ddigon nerthol i wneud fy ewyllys, a dy fendithio.

Esau. Gwnaf, nhad; bore da i ti. Gobeithio y cei hamdden i orphwys a chysgu hyd nes y deuaf yn ol.

## PEN. II.

*Jacob a'i fam yn dwyn y fendith.*

Rebecca. Jacob! O! Jacob, druan! clywais dy dad yn galw ar dy frawd. Aethum at y drws i wrando eu hymddyddan. Gwyddost fod yr hen wr yn gwirioni ar ryw ddanteithfwyd a wna Esau. Y mae wedi gofyn am yr un peth heddyw, ac y mae dy frawd wedi cychwyn i hela er mwyn arlwyo y wledd. Dywedai dy dad y byddai iddo yntau, ar ol bwyta, roddi y fendith batriarchaidd i Esau; a beth ddaw o honot ti wed'yn, fy machgen anwyl i?

Jacob. Gwelais Esau yn myned! Yr oedd ei fwa yn ei law, a'i saethau yn ei gawell; ac ni sylwais erioed arno yn myned drwy y glwyd a thros y gamfa gyda'r fath frys.

Rebecca. Wel, fy mhlentyn, na ddigalonwn. Rhed i blith y praidd, cymer ddau o'r myn goreu, lladd, a dwg hwynt i mi. Yr wyf finau yn adnabod archwaeth dy dad. Brysia, a byddwn barod o'i flaen ef. Cei dithau gymeryd y

bwyd i dy dad, a derbyn ei fendith. Y mae yn ddigon hawdd twyllo yr hen wr wrth ei fod yn ddall.

Jacob. Yr wyf yn eithaf parod i dwyllo fy nhad, a dwyn bendith fy mrawd pe medrwn, ond yn sicr y mae arnaf ofn cynyg. Y mae Esau yn wr blewog, ac yr wyf finau yn wr llyfn; a chan na fedr fy nhad fy *ngweled*, bydd yn sicr o'm *teimlo*, yna daw o hyd i'r twyll; ac nid yn unig gwrthoda fy mendithio, ond bydd yn fy melldithio.

Rebecca. Paid a bod yn llwfr, y peth gwirion. Gwna fel yr wyf fi yn gofyn. Byddaf yn sicr o ddyfod o hyd i ryw ystremp i dwyllo Isaac; ac os methwn, cymeraf fi y bai.

Jacob. Wel, mam, dyna ddau o'r mynod brasaf wedi eu gwaedu, ac yr wyf yn meddwl pe chwilid holl wlad yr addewid na cheid gwell defnydd arlwy. Dyma y ddau groen hefyd, mam.

Rebecca. Dyma y bwyd yn barod, Jacob. Cefais hwyl i goginio, ac y mae yn rhyfedd os na fydd blas fy arlwy yn peri i ddwy wefus dy dad gusanu eu gilydd. Dwg ef iddo. Ond—aros, y mae dillad goreu dy frawd yn y gist; ydyw, y mae y gwisgoedd fydd ganddo yn myned i hela yno. Gad i mi eu rhoddi am danat ti. Aros eto, yr wyf wedi gwneud cadach a menyg o grwyn y mynod i ti roddi am lyfndra dy wddf a'th ddwylaw; ac y mae blew y rhai hyny yr un ffunud â gwallt Esau. Dyna di, dos yn hyf, yr wyt yn sicr o lwyddo.

Jacob. Wel, *nhad*, dyma fi wedi dyfod. Ydwyt ti yn cysgu?

Isaac. Ah! beth! Na, myfyrio yr oeddwn. Pwy sydd yna?

Jacob. Myfi yw Esau dy gyntafanedig. Gad i mi dy helpu i godi, fy nhad, fel y gallot fwyta o'm harlwy, a fy mendithio.

Isaac. Pa fodd, fy mab, y daethost mor gynted? Nid oes ond megys mynyd er gan oeddit yma o'r blaen.

Jacob. O, fy nhad, yr oedd yr Arglwydd gyda mi; ac am hyny yr oedd pob peth yn hwylus. Pan oeddym yn y cae agosaf i'r ty dyma y carw brafiaf yn dyfod i'm cyfarfod, a saethais ef nes oedd yn gelain yn fy ymyl. A chefais rwyddineb digyffelyb gyda phob gorchwyl.

Isaac. Tyred yn nes; gad i mi deimlo ai ti yw fy mab Esau. Pa le y mae dy wddf di? Wel, y *mae* hwn yn flewog. Pa le y mae dy ddwylaw eto? Yn sicr, y mae y

rhai hyn yr un fath. *Llais* Jacob sydd genyt, medd y clyw; a *dwylaw* Esau sydd genyt, medd y teimlad. Dywed unwaith eto, *ai ti yw fy mab Esau?*

JACOB. *Ie*, myfi yw dy fab Esau.

ISAAC. O! wel, rhaid fod fy nheimlad yn iawn, a'm clustiau yn fy nhwyllo. Pa le y mae yr arlwy a ddarperaist, fy mhlentyn i? Gad i mi fwyta, fel y'th fendithiwyf.

JACOB. Dyma y bwyd, fy nhad; a dyma win hefyd.

ISAAC. Y mae hwn yn dda! Ni ddarfu i ti yn dy oes goginio fel heddyw. Tyred yn nes, a dyro gusan i mi. Yr wyf wedi fy llwyr argyhoeddi mai fy mab Esau ydwyt ti; canys y mae arogl maes a fendithiodd yr Arglwydd ar dy wisgoedd di. Yn awr yr wyf finau yn dy fendithio; a dyma y fendith,—*Rhodded Duw i ti o wlith y nefoedd, ac o frasder y ddaear, ac amldra o yd a gwin; gwasanaethed pobloedd dydi, ac ymgrymed cenhedloedd i ti; bydd di yn arglwydd ar dy frodyr, ac ymgrymed meibion dy fam i ti; melldigedig fyddo a'th felldithio, a bendigedig a'th fendithio.*

JACOB. Diolch i ti, nhad. Ymgiliaf bellach, fel y caffech hamdden i orphwyso.

## PEN III.

### *Esau yn digio.*

ESAU. Wel, nhad, wyt ti yn cysgu?

JACOB. Nac wyf, ond yr ydwyf wedi blino; canys bum yn bwyta o arlwy fy mab Esau, ac yn ei fendithio. Pwy sydd yna *eto?*

ESAU. Dy fab, dy gyntafanedig Esau! Yr wyf drwy gryn drafferth wedi dal helfa, ac wedi gwneud bwyd fel y byddwn yn arfer. Cyfod, nhad, bwyta, a bendithia fi.

ISAAC. Pa beth! Och! Pwy! Y mae yma rywun wedi bod. Galwai ei hun yn Esau. Yr oedd yn flewog fel tithau. Yr oedd wedi arlwyo ac ymwisgo yr un ffunud ag y byddi dithau; ac yr oedd arogl maes ar ei ddillad. Yr ydwyf wedi ei fendithio ef, a bendigedig a fydd efe!

ESAU. Yr wyf yn sicr mai Jacob ydoedd; canys pan yr oeddwn yn dyfod i'r ystafell, cyfarfyddais ef! Yr oedd llestri yn ei law, ac yr wyf yn meddwl fod fy ngwisg oreu i am dano. Rhedai yn llechwraidd i'r gegin at ei fam. Pa beth a wnaf! pa beth a wnaf! O! pa beth a wnaf, ac i ba le y troaf! Bendithia finau, fy nhad!

Isaac. Y mae dy frawd wedi dwyn y fendith.

Esau. Ai un fendith sydd genyt, fy nhad? Bendithia finau, finau hefyd, fy nhad! Yn wir, y mae y bachgen yna a'i fam yn rhai twyllodrus cas! Iawn y gelwir ef Jacob—y *disodlwr;* canys y mae wedi fy nisodli ddwywaith bellach. Dygodd fy ngenedigaeth fraint o'r blaen, ac yn awr y mae wedi dwyn fy mendith. Ond er maint yw cynlluniau ei fam ag yntau, mi dalaf iddynt; *gwnaf, mi wnaf hefyd.*

Isaac. Taw, fy mhlentyn i. Efallai mai trefn y nef yw iddo gael y fendith. Ceisia ymdawelu, a maddeu iddynt.

Esau. Ymdawelu! na wnaf. Maddeu! na wnaf byth. Ymdrechaf roddi ffrwyn yn mhen fy nwydau tra byddo byw fy hen dad; ond ni bydd hyny yn hir. Ar y dydd y gwelwyf roddi pridd ar ei wyneb ef, os bydd anadl yn fy ffroenau, nerth yn fy mraich, camder yn fy mwa, a blaen ar fy saeth, mi *laddaf* Jacob fy mrawd: a gwell yw i'r hen wraig yna edrych ati hefyd.

---

## JOSEPH.—Gen. xxxvii., xxxix.—l.

### PEN. I.

*Yr ymweliad a'i frodyr.*

Joseph. Wel, fechgyn, pa fodd yr ydych yn dyfod yn mlaen? Pa lwyddiant sydd i'r praidd? A ydynt yn byw yn lew? A oes llawer yn ddieppil? Ond fy mhrif amcan yn dyfod yma heddyw yw adrodd rhyw freuddwydion rhyfedd a gefais. Yr oeddwn yn gweled fy hun mewn maes yn rhwymo ysgubau; ac yr oedd fy ysgub i yn codi, ac yn sefyll yn syth, a'ch ysgubau chwithau o amgylch yn ymgrymu iddi. Mi welais hefyd yr haul a'r lleuad a'r un seren ar ddeg yn ymgrymu iddi. Dyna fy mreuddwydion i yn fyr. Af adref yn awr i'w hadrodd i fy nhad.

Dan. A aeth ef o'r clyw, blant? Dyna i chwi ddigywilydd-dra! Mae ei freuddwydion yn dangos fod yr ysgogyn yn meddwl arglwyddiaethu arnom ni.

Joseph. Dyna fy mreuddwyd i, nhad.

Jacob. A adroddaist di hwna i dy frodyr?

Joseph. Do.

Jacob. Yn sicr yr wyf fi yn meddwl dy fod yn colli dy le. Y mae yn wir nad all neb wrth ei freuddwydion; ond

os breuddwydi fel yna eto, yr wyf yn dy gynghori i'w gadw i ti dy hun; canys y mae y breuddwydion yna, yn enwedig yr olaf, yn awgrymu y rhaid i'th frodyr, dy fam, a minau ymgrymu i ti. Y mae adrodd breuddwydion fel yna yn rhoddi lle i genfigenu. Ond dyma dy frodyr yn dyfod i swper; rhaid tewi. Wel, fy mhlant i, pa fodd y bu arnoch heddyw? Yr wyf am i chwi fyned drenydd i fugeilio i Sichem; mae y daith yn mhell, a bydd yn rhaid i chwi gael yfory i barotoi.

REUBEN. A raid i ni ein *deg* fyned, nhad?

JACOB. Gwell i chwi fyned.

REUBEN. Da iawn,—ni awn.

JACOB. Wel, Joseph, mae dy frodyr wedi ein gadael er's pum wythnos; ac ni chlywsom air oddiwrthynt. A ai di ac ymofyn pa lwyddiant sydd iddynt, a pha lwyddiant sydd i'r praidd, gan frysio yn ol â gair i mi?

JOSEPH. Af; ffarwel, nhad, am rai dyddiau. Rhoddwch gusan ffarwel i mi; er mor fuan yr ydym yn dysgwyl gweled ein gilydd, nid oes wybod pa beth a all ddygwydd.

JACOB. Nac oes, nac oes, cymer fy nghusan a fy mendith.

JOSEPH. Dyma fi yn Sichem o'r diwedd. Yr wyf wedi cerdded a fy ysgrepan ar fy nghefn ar hyd ffordd ddisathr am bum niwrnod; a gwaeth na'r cwbl, er crwydro, yr wyf yn methu gweled fy mrodyr. Dacw ddyn! Hei! A welsoch chwi ryw ddeg llanc yn bugeilio oddeutu yma?

DYN. Do; gwelais hwy lawer gwaith, a byddem yn arfer ymddyddan. Clywais hwy yn dweyd eu bod am fyned i Dothan, ac yr wyf yn meddwl i mi eu gweled yn cychwyn.

JOSEPH. Dothan! Dothan! Pa faint o ffordd sydd i Dothan? a pha ffordd y mae cychwyn yno?

DYN. Y mae Dothan 12 milltir yn mhellach, rhyngoch a'r gogledd.

JOSEPH. Dyna waith diwrnod da eto. Ond dacw bentref Dothan! a dacw y deg llanc ar ochr y ffridd!

## PEN. II.

### *Creulondeb ei frodyr.*

DAN. Dacw rywun yn cyfeirio tuag atom. "Y breuddwydiwr" ydyw! Ië, yn wir, y mae y siaced fraith am dano! Yr athrodwr digywilydd! Pa beth a wnawn iddo?

GAD. Ni a'i lladdwn ef, ac a'i taflwn i un o'r pydewau yma.

DAN. Ond fe fydd yr hen ŵr, ein tad, yn holi am dano, a pha beth a ddywedwn?

GAD. Bydd yn hawdd twyllo yr hen ŵr, drwy ddweyd fod bwystfil drwg wedi ei fwyta. Y mae hyny yn beth cyffredin yn y cymydogaethau hyn. Pwy bynag sydd am ei ladd, coded ei law. Gwelaf fod pawb yn cydsynio ond Reuben, ymaflwch ynddo.

JOSEPH. Pa beth ydych yn myned i wneud, fy mrodyr? Eich brawd ydwyf, a'ch tad a'm hanfonodd i edrych am danoch; ewyllysio yn dda yr wyf fi i chwi, a meddyliau o hedd sydd genyf.

GAD. Meddyliau o hedd, yn wir! Hen stiward y siaced a'r breuddwydion wyt ti. Yr ydym ni yn myned i dy ladd, ac i fwrw dy gelain i'r pydew. Diosgwch ei siaced.

REUBEN. Pa beth sydd? A ydych chwi yn myned i ladd y llanc? O! na. Teflwch ef i un o'r pydewau dyfnion yma; ni fedr ddringo allan, ac fe geir gwybod pa beth ddaw o hono.

DAN. Fe allai y byddai yn well gwrando ar Reuben.

GAD. Yr ydym oll yn cydsynio. Dyma y dyfnaf o'r pydewau sychion. Gollynger ef i lawr. Dyna fe. Yn awr y mae Reuben wedi myned i'r pentref. Ca ef fwyd yno, eisteddwn ninau i fwyta yma. Pa beth yw y camelod a'r pynau acw sydd yn dyfod o ffordd Gilead? A welwch chwi hwy?

JUDAH. Gwelwn. Ismaeliaid sydd yn myned ar draws y wlad i brynu llysiau balm a myrr, a pheth o bobpeth; ac yr wyf yn meddwl eu bod yn prynu plant a llanciau; ceir marchnad i'r holl bethau hyn yn yr Aifft. Nid oes amheuaeth genyf na buasent yn prynu Joseph. Yr wyf yn meddwl y byddai yn well i ni ei godi o'r pydew, a'i werthu iddynt. Rhydd yr Ismaeliaid ychydig am dano. Y mae ganddynt ddigon o arian. Os ydych am ei werthu, rhoddwch arwydd drwy godi eich dwylaw. Gwelaf eich bod yn unfryd. Joseph, a wyt ti yn fyw? Ymafael yn y rhaff yma; tynwch: dyna efe ar y lan.

JOSEPH. Yr oeddwn yn meddwl na adawsech eich brawd yn y pydew i farw; canys yr oeddwn yn methu cofio am un ymddygiad creulon o'm heiddo i tuag atoch chwi. Mi gaf weled fy hen dad eto.

GAD. Na chei, machgen i. Y mae tymor dy stiwardiaeth di drosodd. Hei! Ismaeliaid! a ydych chwi yn prynu llanciau?

ISMAELIAID. Ydym.

GAD. Edrychwch ar hwna, a dywedwch ar air pa beth a roddwch am dano. Yr ydym am ei werthu, ac am i chwi ei gymeryd o'r golwg cyn y daw ei frawd yma.

JOSEPH. O! fy mrodyr! ai fy nghymeryd o'r pydew i fy ngwerthu a ddarfu i chwi? Yn wir, buasai yn well genyf i chwi fy ngadael yno, neu fy lladd.

IS. Wel, pa faint ydych yn ofyn am dano?

GAD. Fe dâl gant o ddarnau arian; ond gan ein bod ar frys ni a'i gwerthwn am ddeg ar hugain.

IS. Ydyw y dyn wedi dylu! Yr ydych yn gofyn am dano fwy dair gwaith nag a dâl. Rhoddwn ddeg darn o arian os ydych yn dewis.

GAD. Na wnawn. Gwell genym ei fwrw i'r pydew yn ol, neu ei ladd, na hyny. Mae y bachgen yn ddwy ar bymtheg oed, yn un o'r llanciau harddaf yn yr holl wlad; ac y mae synwyr yn chwareu yn ei lygaid. Yr wyf yn sicr pe byddai yn yr Aifft na safai cant o ddarnau arian arno. Ni ryfeddwn pe byddai i Pharaoh ei brynu. Ond gan ein bod ar frys, ni a ranwn yr ymrafael. Yr ydym ni yn gofyn 30, a chwithau yn cynyg 10, chwi a'i cewch am 20.

IS. Dyna ben; dyma yr arian: cyfrifwch hwy.

GAD. Pob peth yn iawn.

IS. Pa beth yw enw y llanc?

GAD. Joseph.

IS. Tyred yma Joseph. Dos ar gefn y camel yma, brysia. Ni waeth i ti heb wylo; myned sydd raid. Dyna ti, Nebaioth, mi brynais y bachgen yma am 20 darn o arian! Tâl gymaint bedair gwaith. Ha! ha! ha! Mi wn i pwy sydd eisieu ei fath. Ni chymeraf lai na chan darn o arian am dano y mynyd yma.

## PEN. III.

*Ei frodyr yn twyllo eu tad.*

GAD. Dyma yr ugain darn arian; pwy a'i ceidw?

JUDAH. Cadw di hwy; tydi wnaeth y fargen. Ond dacw

Reuben yn dyfod; y mae yn myned at y pydew. Yr oeddwn yn meddwl yr äi. Mae yn rhwygo ei ddillad, a'i wyneb mor wyned a'r calch. Dywed wrtho ei hun, "Y llanc nid yw acw, a minau i ba le yr af? Ow! Ow! Joseph, i ba le yr aeth? Rhaid fod rhywbeth wedi ei ladd! Pa fodd yr af at fy nhad hebddo?"

DAN. Pa beth a ddywedwn wrth ei dad? canys y mae yn sicr o ofyn a welsom ni y llanc.

GAD. Rhaid dweyd, na welsom.

DAN. Ond y mae ei siaced yma; pa beth a wnawn â hon? A fyddai yn well i ni ei chladdu, neu ei thaflu i'r tân?

GAD. Na, gwell i ni ladd un o'r myn, trochi y siaced yn ei waed, a dweyd wrth ein tad ein bod wedi ei chael yn yr anialwch, a'n bod yn ei gweled yn debyg i siaced ein brawd Joseph, ond yn methu bod yn sicr, o herwydd ei lliwio â gwaed; yna gofyn pa beth yw ei farn ef.

DAN. Da iawn. Bydd ein tad yn rhwym o gasglu fod rhyw fwystfil wedi ei ladd.

JACOB. Wel, fy meibion, a ddaethoch chwi? Buoch oddicartref yn hir. A ydych oll yn iach? Pa lwyddiant sydd i'r praidd? Pa le y cafodd Joseph bach afael arnoch?

JUDAH. Joseph! Ni welsom ni mo Joseph.

JACOB. Mo Joseph! mo Joseph! Yr wyf wedi ei anfon i edrych am danoch er's pythefnos; ac ni welsoch chwi mo hono ef!

JUDAH. Na welsom ni. Ond yr oeddym yn dyfod drwy'r coed, a chafodd Naphthali siaced ar lawr; ac y mae rhai o honom yn meddwl mai ei siaced ef ydyw. Dyma hi; gwyddost ti.

JACOB. Gadewch weled. Ië, siaced fy mab yw hon. Ië, yn wir, yr wyf yn adnabod ei thoriad, a phob pwyth sydd ynddi! Diau, bwystfil drwg a'i bwytaodd ef! gan larpio y llarpiwyd Joseph! O! fy mab! fy mab! paham y gofynais iddo fyned mor bell i edrych am ei frodyr? a phaham yr ufuddhaodd yntau? Ond pa bryd y darfu iddo anufuddhau i'w dad? Och! och!

JUDAH. O! ein tad, pa'm 'rwyt yn wylo?
Gall daw Joseph eto i dre';
Ond os na ddaw, buan, buan,
Cei ei weled yn y nef.

JACOB. O! fy mhlant! fy nghysur heddyw
Ydyw wylo dagrau'n lli';
Rhwygo'm dillad ac och'neidio
Sydd yn esmwythad i mi.

JUDAH. Beni bach sydd o dy ddeutu
I'th ddyddanu dan y groes;
Sych dy ddagrau, paid a llefain,
Llawer tad ga'dd drymach loes.

JACOB. Medrwn ganu pe cawn redeg
At fy mab i'r beddrod llaith;
Mae hi'n agos! O! na welwn
Bellach derfyn eitha'r daith!

## PEN. IV.

### *Joseph yn nhy Putiphar.*

ISMAELIAID. A ydyw y tywysog Putiphar gartref?

DRYSOR. Ydyw. Deuwch i mewn.

IS. Anrhydeddus dywysog! Deallais i a'm cydfasnachwyr fod ar eich arglwyddiaeth eisieu llanc, ac y buasech yn hoffi cael un o hâd Abraham. Buom a'n llygaid ar ein hysgwyddau tra ar ein taith, ac yr ydym yn meddwl ein bod wedi cael un i'r dim. Y mae efe yn awr gyda'r camelod.

PUTIPHAR. Gelwch arno. Wel, yr wyf fi yn hoffi golwg y llanc, ac y mae fy ngwraig yn ei hoffi. Y mae yn fachgen iach, hardd o gorff, a gwridog o bryd. Edrych yn fy llygaid, —ac y mae wyneb agored ganddo. Gwelaf fod ynddo fwyneidd-dra a chraffder; ac y mae rhywbeth ynddo yn ymddangos yn foneddigaidd, fel pe bai wedi cael ei ddwyn i fyny mewn teulu parchus. Pa faint ydych yn ofyn am dano?

IS. Ni werthwn ef o dan *gan darn o arian;* costiodd yn agos i hyny, ac yr ydym yn cael digon o gynygion arno.

PU. A adewch i mi gael wythnos o brawf arno cyn taro y fargen?

IS. Gwnawn, fy arglwydd.

PU. Dere gyda mi. Pa beth yw dy enw?

JOSEPH. Joseph, fy arglwydd.

PU. Pa beth oedd enw dy dad? a oedd i ti frodyr a chwiorydd? pa fodd y bu i ti adael dy gartref? a chan bwy y prynodd y bobl yna di? Paham yr wyt yn wylo?

JOSEPH. Gwell genyf beidio ateb y gofyniadau yna. Maddeu i mi am wylo; y mae hyny yn un o fy ngwendidau.

PU. Wel, yn awr, dos droswyf fi i'r swyddfa, a brysia yn ol. Gelli fyned wedi hyny i dynu dwfr, a chymynu coed; a dysgwyliaf i ti fod yma bob boreu i gylymu careiai fy esgidiau i, a phob nos i'w datod.

IS. Wel, fy arglwydd, y mae yr wythnos i fyny; pa fodd y mae Joseph yn gwneud? Pa un ai y llanc ai yr arian a gaf fi heddyw?

PU. Myfi bia y llanc. Dyma y can darn arian i ti; cyfrifa hwy.

IS. Dyna i chwi, fy mrodyr! Enillais bedwar ugain o ddarnau arian ar y llanc!

Y WRAIG. Yn sicr, fy anwyl briod, ni bu genym erioed gaethwas mor rhinweddol â Joseph. Y mae yn codi yn foreu ac yn gweithio yn ddiwyd. Y mae ganddo le i bob peth, a phob peth yn ei le. Y mae yn ufudd i bawb, heb un swydd yn rhy isel ganddo; ac yn nghanol y cwbl y mae yn foneddigaidd, ac yn un o'r llanciau tecaf yr olwg a welais erioed. Rhyfedd y gwahaniaeth y mae gweinidog da yn ei wneud mewn teulu. Y mae fel pe byddai rhyw fendith ar bobpeth er pan ddaeth y llanc yna i'r ty. Bum yn meddwl y byddai yn well i ni ei godi i swydd uwch.

PU. Bum inau yn meddwl yr un peth fy anwylyd. Ond pa swydd a geir iddo? A gawn ni ei wneud yn benystafellydd? Bum i yn meddwl weithiau ei wneud yn *olygwr* ar ein holl dŷ yn lle Sanbalat, canys nid oes gan na gwas na morwyn barch i hwnw; ac yr wyf finau wedi colli pob ymddiried ynddo, er pan ddeallais ei fod yn gwneud côd iddo ei hun wrth wasgu ar y rhai sydd dano.

Y WRAIG. Ië, fy arglwydd, dyna y swydd. Yr wyf finau wedi darfod â Sanbalat, yr hen beth hyll. Y mae Joseph yn decach o bryd, a glanach yr olwg dair gwaith nag efe; a gwell genyf gael dyn *ieuanc* yn y palas, ac o'i amgylch, na hen wr fel yna.

PU. Wel, Joseph, yr wyt wedi ein boddloni er pan ddaethost yma. Yr ydym wedi penderfynu dy wneud yn *olygwr* ar ein holl dŷ, a rhoddi pob peth a feddwn o dan dy law. Tydi sydd i orchymyn i'n holl weision a'n holl forwynion, i mewn ac allan, pa bethau y maent i'w gwneud, a dyma agoriadau pob drws a phob cell i ti. Tydi sydd i dderbyn ac i dalu pob arian. Ni wnaf fi ymyraeth â dim,

oddieithr y bwyd a fwytâf. Ac yr wyt i gael dy wisgo ar draul y teulu. Dyma i ti fantell ysgarlad. Bydd hona i bwy bynag a'i gwel yn arwydd o awdurdod ac o anrhydedd.

GWAS. (Wrth ei gyd weision). Y mae genym olygwr yn iawn o'r diwedd. Gwell genyf fi ef o'r haner na Sanbalat. Gwna degwch â ni, a gonestrwydd â'n meistr. Nid yw yn ceisio gair da na gwên ei arglwydd ar draul un o honom ni. Y mae yn hyfrydwch ufuddhau iddo. Boed i dduwiau yr Aifft roddi hir oes iddo, a'i gadw yn ei swydd.

PU. (Wrth ei wraig). Rhaid mai y duwiau a anfonodd Joseph i ni. Y mae yn well fel golygwr nag ydoedd fel gwas. Y mae bendith yn y ty ac ar y maes er pan ddaeth efe i'w swydd; y mae yr oll a feddwn wedi dyblu yn yr ychydig amser y bu gyda ni. Pwy feddyliasai y gallasai un dyn effeithio y fath gyfnewidiad? Ond, yr wyf yn eich gadael: rhaid i mi fyned at y palas, yn dywysog y gosgorddlu; ffarwel, fy anwylyd, bydd Joseph gyda chwi. Y mae genyf fwy o ymddiried ynddo ef nag sydd genyf ynof fy hun; gellwch chwithau deimlo yr un fath.

Y WRAIG. Ffarwel, fy anwyl briod.

## PEN. V.

### *Joseph yn gwrthsefyll profedigaeth.*

GWAS. (Wrth ei gyd weision). Onid yw ein meistres yn hoff iawn o'r stiward newydd? Y mae yn troi ei llygaid ar ei ol i bob man. Gwelais hi unwaith yn taflu swp o flodau iddo. Nid oes digon o gellwair ganddi i wneud âg ef; ac y mae yn ei wahodd i swpera gyda hi bob nos. Pa beth sydd ar y foneddiges? y mae yn llawer hŷn nag efe.

Y WRAIG. (Wrth Joseph). Trueni yw dy fod ti yn myned i ystafell dy hunan ar ol swpera, a minau yn cael fy ngadael fy hunan; ni byddai waeth i ni dreulio y nos gyda ein gilydd. Y mae y tywysog wedi myned i'r palas er's wythnos, ac ni ddaw yn ol eto am ddiwrnodau a nosweithiau.

JOSEPH. Pa beth! Gwelaf fod fy meistres yn lletya meddyliau llygredig! Yr wyf yn gwrido ac yn crynu. A allwn i fod mor anffyddlon i'r tywysog? Y mae efe wedi fy rhoddi yn y swydd uwchaf yn y teulu, ac wedi rhoddi pob peth dan fy llaw; fy meistres yn unig a waharddodd

efe. Ac heblaw hyny, y mae genyf fi Dduw, a'i lygaid arnaf yn mhob man. "Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw." Nos da, fy meistres.

Y Wraig. (Wrthi ei hun). Yn wir, y mae yn llanc teg a hawddgar; ac y mae ei oerfelgarwch ef yn fy ngwresogi i. Paham y sonia efe am ffyddlondeb i'w feistr? Pa hawl sydd gan yr hen dywysog arnaf fi? Ai tybed nad oes genyf ryddid i wneud fel y gwelwyf yn dda? Ac y mae ganddo efe wragedd heblaw myfi. Pa "fawr ddrwg" yw yr un y cyfeiria y llanc ato? a pha Dduw yw yr un a ofna "bechu yn ei erbyn?" Myfi a'i cynygiaf ef eto eilwaith ac eilwaith âg ymadroddion denu; ïe, ymaflaf ynddo.

Joseph. Ah! fy meistres! paham yr ymeflaist yn fy ngwisg? Gwell genyf ffoi na goddef hyn. Ië, cyn y goddefaf hyn gadawaf dŷ Putiphar a'i wasanaeth.

## PEN. VI.

### *Anfon Joseph i garchar.*

Y Wraig. Wel, ni fedr na geiriau teg na gafael tyn ei orchfygu. Dyna efe wedi ffoi, ond y mae ei wisg genyf fi. Yr wyf yn dechreu digio wrtho, a mynaf ddial arno. Hai! holl ddynion y tŷ, deuwch i fewn! fy nhystion i ydych chwi heddyw. Y mae y tywysog wedi dwyn Hebrewr yma i'm gwaradwyddo. Daeth yn ei fantell swyddogol i'r tŷ pan oeddwn yma fy hunan: cymerodd ryddid gormodol gyda mi. Minau a ddyrchefais fy llef, ac a waeddais. Pan glywodd hyny, ffodd; ond mi a ddeliais ei wisg, a dyma hi; mi a'i cadwaf y fan yma nes y daw y tywysog adref. Y mae yn dyfod heddyw, a dyna drwst carlamiad ei farch.

Pu. Wel, fy anwylyd, pa fodd y bu arnoch er pan ymadewais? Gwelaf fod pobpeth yn ei le, a diau eich bod yn ddedwydd gyda ein golygwr newydd.

Y Wraig. Golygwr newydd yn wir! Yr hen Hebread twyllodrus! Pan aeth fy arglwydd i ffordd meddyliodd mai efe bia bobpeth. Yr oedd yn codi ei lygaid arnaf yn mhob man. A boreu heddyw daeth i'r tŷ, pan nad oedd yno neb ond fy hunan; ymaflodd ynwyf, bloeddiais inau, a ffodd yntau; ond deliais afael yn ei wisg, a dyma hi. Gobeithio fy arglwydd na phryni di Hebread mwy.

Pu. Myn einioes Pharaoh, pa beth yw hyn! Dyger y

troseddwr ger fy mron i. Wel, Joseph! ai dyma allesit wneud wedi i mi ymddiried yr agoriadau i ti, a rhoddi pob peth o dan dy law?

JOSEPH. Yr wyf fi yn ddieuog, fy arglwydd.

PU. Dieuog, yn wir! a'r wraig yn tystio dy fod yn gwenu arni, ac yn edrych ar ei hol yn mhob man; a dy fod wedi dal ar adeg pan oedd y dynion oll allan, ac wedi dyfod i'r tŷ, ymaflyd ynddi, a ffoi pan ddarfu iddi waeddi! Dyma dy wisg wedi ei dal ganddi; y mae hon yn tystiolaethu yn dy erbyn; ac y mae holl ddynion y tŷ yn dystion hefyd.

JOSEPH. Ni wn i beth a ddywedodd fy meistres, ond gwn pa beth sydd wirionedd. Y mae genyf fi ddau dyst o'm dieuogrwydd,—un yn fy mynwes, a'r llall yn y nef. Ond tystion o'r golwg a dyeithr i fy arglwydd yw y naill a'r llall; eto ymddiriedaf yn Nuw. Daeth â mi o lawer cyfyngder, a daw a mi o hwn eto.

PU. Na, nid wyf fi am wneud cam â thi; ond yr wyf am dy anfon i'r lle y mae carcharorion y brenin yn rhwym, i aros dy brawf. Dywedaf air o dy blaid wrth benaeth y carchardy. Y mae yno hefyd le i ti gael dyrchafiad, os byddi yn dewis. Bydd arnaf hiraeth am danat ti; ac yr wyf yn wylo am nas gwn pwy a gaf i lanw dy le.

JOSEPH. Wel, dyma fi yn myned i garchar! Nid wyf yn deall yr oruchwyliaeth; fe allai y caf esboniad ar ol hyn. Ffarwel i ti, Putiphar. Boed i fy Nuw dy fendithio, a dangos yn fuan i mi fod yn ffyddlon i ti yn mhob peth.

Y BOBL.

Cael crefydd ddeil ei phrofi
  Sydd werthfawr iawn i ni;
Ei grefydd gariodd Joseph
  Drwy rwystrau fwy na rhi':—
Fe'i daliodd pan ei codwyd
  Yn uchel gan ei Dad,
Fe'i daliodd pan ei gwerthwyd
  Gan frodyr llawn o frâd.

Do, daliodd, eiriau'r fenyw
  A'i hudai i bob drwg,
A daliodd wedi hyny
  Eithafion gwaetha'i gwg;
Er bod yn mhlith dyeithriaid,
  A'i dad yn mhell yn byw,
Fe gofiai ef er hyny
  Am bresenoldeb Duw.

## PEN. VII.

*Pharaoh, ei freuddwydion, a'i ddewiniaid.*

TRUELIAD. Gyda chenad, fy arglwydd, a oddefir i mi ofyn, Paham y mae ei fawrhydi yn edrych mor syn y boreu heddyw?

PHARAOH. Y mae yn dda genyf dy glywed yn gofyn. Breuddwydio ddarfu i mi neithiwr, freuddwyd rhyfedd iawn— a dau freuddwyd yn wir.

TRULL. A fyddai yn ormod hyfdra gofyn i fy arglwydd frenin adrodd ei freuddwydion i'w was? canys mi wn inau rywbeth am freuddwydion, ac am eu dehongli.

PHAR. Anfoner am yr holl ddewiniaid a'r doethion, ac mi a adroddaf fy mreuddwydion yn eich clyw oll.

TRULL. Y mae y dewiniaid a'r doethion yma yn ganoedd.

PHAR. Wel, fy newiniaid a'm dysgedigion, efallai eich bod wedi clywed i mi gael breuddwydion hynod y nos o'r blaen.

DEWINIAID. Do, ni glywsom rywbeth; ac os rhynga bodd i ei fawrhydi, boed iddo adrodd ei freuddwydion i'w weision.

PHAR. Wel, yr oeddwn ar lan y Nilus, ac mi ganfyddwn saith o wartheg tewion brafiaf a welswn erioed yn dyfod o'r afon, a phorent ar y weirglodd; ac wedi aros ychydig, canfyddwn saith o wartheg teneuon hyllaf a welswn erioed yn dyfod o'r afon, yn sefyll yn eu hymyl, ac yn eu bwyta! Ar hyn mi ddeffroais. Ond cysgais drachefn, a gwelais saith o dywysenau llawnion yn tyfu ar un gorsen. Wedi hyny mi a welais saith o dywysenau gwaelion, wedi eu deifio gan wynt y dwyrain, yn tyfu yn eu hymyl, ac yn eu llyncu. Dyma fy mreuddwydion; ni bydd dim yn ormod genyf i'w wneud i'r hwn a'u dehonglo.

DEWIN. Ni fedraf fi eu dehongli. A fedri di, Balaam? a fedri di, Beor? neu a oes un o honoch a fedr? A oes neb a fentra ddweyd rhywbeth wrth y brenin? Ac efallai mai doethach i ni ddal ein tafodau, canys ni fedrwn drin Pharaoh fel y triniwn y werin anwybodus. Y mae dy freuddwydion yn rhai anghyffredin. A wel dy fawrhydi yn dda ganiatâu i ni fyned adref i chwilio y llyfrau, ac i ymgynghori â'n duwiau.

PHAR. Ewch, a deuwch yma erbyn 10 yfory.

TRULL. Rhynged bodd i'th fawrhydi, y mae y dewiniaid a'r doethion yma.

PHAR. A ydynt yna oll?

TRULL. Y mae yma ganoedd.

PHAR. A ydych chwi, ddysgedigion, wedi cael allan ddehongliad fy mreuddwydion i?

DEWIN. Nac ydym, fy arglwydd frenin.

PHAR. Neb o honoch!

DEWIN. Neb, fy arglwydd.

PHAR. Pa les i'r Aifft eich cynal? a pha beth a wnaf? Ewch oddiwrthyf. Yr wyf yn fwy annedwydd heddyw na doe. Och! Och! po fwyaf feddyliwyf am fy mreuddwydion, hynotaf ydynt yn fy ngolwg. Rhaid eu bod yn rhagddangos peth o bwys, a dylwn gael rhyw ddehongliad iddynt.

## PEN. VIII.

### *Pharaoh, ei freuddwydion, a Joseph.*

TRULL. Fy arglwydd frenin! yr wyf yn cofio fy meiau heddyw. Gwyr dy fawrhydi i'r pen-pobydd a minau gael ein bwrw i garchar. Cawsom ein dau freuddwydion hynod yr un noswaith. Adroddasom hwy i fab ieuanc o Hebread oedd yn y carchar. Dehonglodd yntau hwy. Dywedodd y buasai fy nghydwas yn cael ei grogi, ac y buaswn inau yn cael fy nyrchafu i fy swydd; ac felly y bu, fel y gwyr dy fawrhydi.

PHAR. Pa beth yw enw y mab ieuanc?

TRULL. Joseph, fy arglwydd.

PHAR. O, mi glywais Putiphar a phenaeth y carchardy yn son am dano. Canmolent ei ddoethineb, ei onestrwydd, a'i Dduw.

TRULL. Ie, fy mrenin, dyna y gwr.

PHAR. Ac y mae efe yn medru dehongli breuddwydion, ai e? Anfoner am dano. Dos dithau, fy mhentrulliad, gyda fy ngweision i'w gyrchu. Y mae y mab ieuanc yn dy adnabod di.

TRULL. Wel, Joseph, y mae y brenin eisieu dy weled. Ond paid a dychrynu, wedi breuddwydio y mae, ac yn methu cael neb i ddehongli ei freuddwydion. Minau a gofiais am danat ti, ac a grybwyllais dy enw wrtho. Gwell

i ti eillio dy ben, golchi dy wyneb, a rhoddi dy ddillad goreu am danat.

JOSEPH. Diwrnod pwysig yw heddyw; y mae yn sicr o naill ai fy nghodi i, a chodi fy nghrefydd, neu ein darostwng. Gwrando fi, O! Arglwydd, gwrando fi; a dysg i mi ddehongli y breuddwydion, fel y gwypo Pharaoh mai Duw yr Hebreaid sydd Dduw.

PHAR. Wel, Joseph, yr wyf wedi cael breuddwydion rhyfedd, ac y mae holl ddewiniaid yr Aifft yn methu eu dehongli. Clywais gan fy mhentrulliad y medri di.

JOSEPH. Medr fy Nuw i. Efe a etyb lwyddiant i Pharaoh. Ond a wel dy fawrhydi yn dda adrodd dy freuddwydion?

PHAR. Yr oeddwn ar lan y Nilus, a gwelais saith o wartheg tewion yn dyfod o'r afon, ac yn pori ar y weirglodd. Yn mhen tipyn, gwelwn saith o wartheg eraill yn esgyn o'r afon, teneuon a hyllion, a llyncasant y saith buwch dew; ac er eu myned i'w boliau, nid edrychent ddim gwell. Yna mi a ddeffroais: ond cysgaist drachefn, a gwelais saith dywysen lawn a theg ar un gorsen, ac yn union dyma saith o dywysenau teneuon a gwywedig yn tyfu ar eu hol, ac yn eu llyncu. Dyna fy mreuddwydion.

JOSEPH. Un meddwl sydd i'r ddau freuddwyd. Amcan fy Nuw i yn ei ddyblu yw dangos y cyflawnir ef yn *sicr*, a hyny yn *fuan*. Ond y mae y breuddwyd o annhraethol bwys i'r brenin, ac i'r holl wledydd.

PHAR. Brysied Joseph i adrodd i'r brenin ei ddehongliad.

JOSEPH. Wel, y mae y saith buwch tew, a'r saith tywysen lawn, yn rhagddangos saith mlynedd o amldra. Bydd yn mhob man fwy na digon o ŷd i gynal y trigolion. Yn dilyn yr amldra, fe ddangosir gan y gwartheg teneuon a'r tywysenau gweigion, y paid y Nilus a chwyddo dros ei glanau; ac mewn canlyniad, ni cheir mewn saith mlynedd ddim digon o ŷd a ffrwythau i gynal y trigolion.

PHAR. Y mae y dehongliad mor naturiol, fel yr wyf yn cael esmwythâd i fy meddwl, a llwyr argyhoeddiad ei fod yn gywir.

JOSEPH. A ganiatâ y brenin i Joseph ddweyd gair yn rhagor?

PHAR. Llefara, Joseph.

JOSEPH. Fy nghynghor i yw, ar fod i'r brenin ddewis gwr deallgar, a'i osod yn olygwr ar yr holl wlad, i gadw yn y

dinasoedd bumed ran cynyrch yr Aifft dros saith mlynedd yr amldra, fel na ddyfether y trigolion o herwydd prinder y saith mlynedd a ddilynant.

## PEN. IX.

### *Joseph yn llywydd y wlad.*

PHAR. Barn y brenin yw na fedrir cael neb gwell na'r gwr a roddodd y cynghor i fod yn llywydd. Y mae ei waith yn dehongli fy mreuddwydion i yn dangos fod Ysbryd Duw ynddo; ac y mae ei waith yn cynghori pa beth i'w wneud yn dangos fod doethineb yr arolygydd ganddo.

GWAS. Gyda chenad y brenin, bydd yn lled galed i edrych ar Hebrewr o'r carchar wedi myned yn ben arnom oll.

PHAR. Wel, aeth heibio i'r dewiniaid oll mewn dehongli breuddwydion, ac aeth heibio i fy nghynghorwyr oll mewn barn; yr wyf finau yn penderfynu dyrchafu pawb yn ol eu teilyngdod. Gelwch ar Joseph, fel y gallwyf ei neillduo i'w swydd, a'i anrhydeddu yn eich presenoldeb.

GWAS. Joseph! Joseph! dere i mewn. Y mae y brenin eisieu ymddyddan â thi.

PHAR. Wel, Joseph, nid mor ddeallgar neb â thydi; a chan wneuthur o dy Dduw i ti wybod hyn oll, ti a gai fod yn agosaf ataf fi. Ar yr orsedd yn unig y byddaf yn uwch na thydi. Ti a gai fyw yn y palas a llywodraethu fy holl bobl. Dyma fi yn tynu fy modrwy, ac yn ei rhoddi ar dy law di. Rhoddaf hefyd gadwyn aur am dy wddf, a gwisgoedd sidan am danat; a phan ä allan y cerbydau breiniol, byddi yn yr ail. Gwnaf i'r bobl blygu glin, a gwaeddi *Abrec* o dy flaen. Dy enw fydd *Saphnath-Paaneah—datguddudd dirgeledigaethau, a gwaredwr y byd.* Ac yr wyf wedi meddwl am wraig i ti, y brydferth Asnath, merch Potipherah, tywysog On.

JOSEPH. (Wrtho ei hun). Nid wyf ond 30 oed, eto gwelais lawer tro ar fyd. Cefais fy nyrchafu yn nhŷ fy nhad. Bum wedi hyny mor isel a'r pydew, cefais fy ngwerthu fel anifail, ïe, taflwyd fi i garchar o dan y cyhuddiad mwyaf gwaradwyddus. Ond dyma fi yn awr wedi fy nghodi at ymyl gorsedd yr Aifft! ac wedi priodi un o'r gwragedd anwylaf. O'r Arglwydd y daeth hyn, ac oddiwrtho ef yr wyf yn dysgwyl am nerth i gyflawni fy nyledswyddau pwysig.

TRULL. Dyma y saith mlynedd amldra wedi dyfod fel y dywedodd Joseph. Y mae y ddaear yn cnydio yn ddyrneidiau, nid yn unig wrth y ddinas hon a glanau y Nilus, ond drwy holl wlad yr Aifft. Y mae y sacheidiau ŷd mor aml a'r tywod.

JOSEPH. Wel, dyma yr amldra wedi darfod, y prinder wedi dechreu, a minau gartref gyda'm teulu yn nghanol llawnder. Y mae genyf ddau fab. Rhaid i mi gael enwau arnynt i ddangos i'r oesau a ddeuant fy mod yn cydnabod fy Arglwydd. Galwaf yr hynaf yn *Manasseh*, "Canys Duw a wnaeth i mi anghofio fy llafur, a thylwyth fy nhad." Galwaf yr ail yn *Ephraim*, "Canys Duw a'm ffrwythlonodd i yn ngwlad fy nghaethiwed."

AMAETHWR. Fy arglwydd frenin Pharaoh, y mae y newyn wedi dyfod! Ni chawsom ffrwyth ar ein meusydd y blynyddau diweddaf. Y mae genyf fi, a'r brodyr sydd gyda mi, lonaid tai o blant, ond ni feddwn fara iddynt. Deallwn fod digon o ŷd yn ystordai dy fawrhydi. A weli di yn dda adael i ni ei gael am ryw bris?

PHAR. Ewch at Joseph, efe yw arolygydd yr ystordai. Pa beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch; a'r hyn a roddo efe i chwi, cymerwch.

AM. Nid oes un amaethwr yn ein cymydogaeth ni yn werth sachaid o ŷd, ond clywsom fod genyt ti ddigon.

JOSEPH. Oes, ond y mae yn rhaid i Pharaoh gael eich arian am dano; ac y mae y farchnad wedi codi. Yr wyf yn synu fod eich cymydogaeth ar ddechreu y newyn heb damaid o ŷd o'i mewn. Pa fodd, druain, na buasech yn cynilo drwy flynyddoedd yr amldra? Ond dyma i chwi ŷd.

AM. Dyma arian.

JOSEPH. Dyma ŷd.

AM. Y mae yr arian wedi darfod! ac y mae y newyn yn trymhau. Nid yn unig y mae yr arian wedi darfod genyf fi, ond y maent wedi darfod gan bawb yn y gymydogaeth. Yr oedd gan Abram y cybudd arian na welsant yr haul er's blynyddau; ond darfu i'r newyn ddryllio ei galon ef: y mae ei gelloedd yn weigion, a'i gôd wedi ei throi a'i hwyneb i waered. Ac yr wyf fi yn meddwl fod pob cybudd drwy y gwledydd yn yr un sefyllfa. Pa beth a wnawn?

JOSEPH. Rhaid i Pharaoh gael eich anifeiliaid.

AM. Dyma ein hanifeiliaid.

JOSEPH. Dyma ŷd.

Am. Y mae y newyn yn para, ac yn trymhau: ond y mae ein hanifeiliaid wedi darfod! Nid oes na march, nac eidion, na dafad, nac asyn drwy yr holl wledydd heb nôd Pharaoh arnynt; a pha beth a wnawn?

Joseph. Y mae gan Pharaoh ddigon o ŷd eto, ond rhaid iddo gael eich tiroedd am dano.

Am. Dyma y gweithredoedd am y tiroedd.

Joseph. Dyma ŷd.

Am. Mae y newyn yn para, ac yn trymhau; ond y mae ein tiroedd wedi darfod! Nid yn unig y mae Pharaoh yn frenin ar holl wlad yr Aifft, ond y mae pob maes, yn gystal a phob anifail ar bob maes, yn eiddo personol i'r brenin. A pha beth a wnawn nesaf?

Joseph. Y mae gan Pharaoh ddigon o ŷd eto, ond dylai gael rhywbeth am dano.

Am. Ni feddwn ni ddim i'w gynyg, ond ein hunain; ac yr ydym yn barod i werthu ein hunain.

## PEN. X.

*Anfon ei frodyr at Joseph.*

Judah. Wel, nhad, darfyddodd ein hŷd ninau; y mae yr ysgub ddiweddaf wedi ei dyrnu, a'r dyrnaid olaf wedi ei falu. Gwir, y mae yma ddigon o laeth, a mêl, a gwin, a ffrwythau perllanau; ond pwy fedr weithio yn galed heb fara?

Jacob. Wel, fy mhlentyn, y mae digon o ŷd yn yr Aifft, a chroeso i'w gael ond talu am dano. Bum yn siarad â Daniel, fy nghymydog; y mae ei weision ef newydd ddychwelyd, a'u ffetanau yn llawnion o'r ŷd goreu a falwyd erioed. Rhoddant air uchel iawn i'r gwr sydd yn llywydd ar y wlad, ac yn cadw agoriadau ystordai. Y mae genym ninau bynau asynod o ddarnau arian, nad ydynt dda i ddim ond i'w newid am nwyddau ydynt o wir werth.

Judah. Ië, fy nhad; ond y mae yr Aifft yn mhell. Bydd yn rhaid i'r asynod gael deuddeng niwrnod i fyned, a llawer rhagor i ddychwelyd o dan eu pynau.

Jacob. Nid yw yr Aifft yn mhellach i chwi nag ydyw i eraill. Bu rhai o'n cymydogion yno fwy nag unwaith, ac y mae rhywun o'n hymyl yn myned yno bob dydd. Bydd yn hawdd i chwi gael cwmni bob cam. Gwyddoch fod genym

ni yr asynod goreu am deithio yn yr holl wlad, a digon o ebran i'w roddi iddynt; ac y mae deg o honoch chwithau yn fechgyn cryfion. Paham yr ydych mor llwfr, ac yn edrych fel hyn ar eich gilydd? Ewch, brysiwch.

JUDAH. Deg o honom a ddywedaist ti? Onid oes yma un-ar-ddeg, fy nhad? Pa un o honom sydd i aros gartref?

JACOB. O, Benjamin. Y mae arnaf ofn ei ollwng ef, rhag dygwydd niwaid iddo.

JUDAH. Dyna dy galon di allan, nhad; yr wyt tithau yn gwybod y gellir cael niwaid ar y ffordd; ond gwell genyt golli deg o honom ni na dygwydd niwaid i un Benjamin. Nid oes reswm yn hyn, fy nhad. Y mae efe yn awr yn ei ddyddiau goreu—yn 24 oed; gall ddal y daith gystal a neb o honom. Paham y mae efe yn cael ei arbed o hyd?

JACOB. Na, fy mhlant, nid yw eich diogelwch chwithau yn ddibwys yn fy ngolwg; ond dylai eich hen dad gael rhyw gwmni gartref. Gwyddoch fy mod wedi claddu eich mamau, a Ben. yw unig blentyn byw fy hawddgaraf Rahel. Hysbys yw i chwi fod ei frawd wedi ei larpio. Y mae ei siaced waedlyd genyf yn y tŷ hyd yr awr hon. Ewch, fy meibion, a pheidiwch gofyn am Ben. Y mae llawer o'ch cymydogion yn cychwyn boreu yfory; ewch gyda hwy.

JUDAH. Wel, yr ydym yn boddloni; ond pa beth a gymerwn gyda ni?

JACOB. Cymerwch y goreu o'r asynod, digonedd o ebrau i'w roddi iddynt, a bwyd i chwi eich hunain; ffetanau i ddal yr ŷd, a faint a fynoch o ddarnau arian.

JUDAH. Gwnaethom yn ol dy gynghor. Y mae pob peth yn barod, a'r wawr wedi tori; ac y mae ein cymydogion yn dyfod yn finteioedd. Ac, ar fy ngair i, dacw yr hen Ddaniel gyda'i weision! Bu efe yn yr Aifft lawer gwaith; cawn addysg a difyrwch ganddo ef ar hyd y ffordd. Tangnefedd fyddo i'n tad a'n brawd Ben.

JACOB. Tangnefedd, fy mhlant anwyl i. Y nef a'ch amddiffyno ac a'ch llwyddo. Y mae Ben. yn cyd-ddymuno a'i dad, ac yn bloeddio, Tangnefedd i chwi.

DANIEL. Dyna ni drwy yr anialwch, a thros diroedd ffrwythlawn yr Aifft. Dacw afon ryfedd Nilus, a red o Ethiopia; ac wedi ymranu yn saith ffrwd, a ddisgyna i Fôr y Canoldir. Dyma ni yn ninas Pharaoh. Draw y mae ei gastell ef, a dacw balas y llywydd, a dyna yr ystordai mawrion lle y mae yr ŷd; ac fel yr wyf yn fyw, dacw y

llywydd ei hun yn dyfod! Tynwch eich hetiau bob un, ac ymgrymwch hyd lawr iddo.

## PEN. XI.

*Joseph yn derbyn ei frodyr yn sychlyd.*

LLYWYDD. (Wrtho ei hun). Pwy yw y deg dyn yna? Gwelais hwy o'r blaen. Ai nid fy mrodyr ydynt? Ië, yn wir, dyma y deg fu yn fy ngwerthu! Dacw Reuben, fy mrawd hynaf, druan. Wel, y mae amser wedi gwneud ei ol arnynt; ond y mae er hyny bellach dros ugain mlynedd. Rhyfedd eu bod oll yn fyw! Nid ydynt yn fy adnabod i. A ddywedaf fi wrthynt yn union pwy ydwyf? Na wnaf. Ni fedrant hwy ond iaith Canaan; cymeraf finau arnaf na fedraf ond iaith yr Aifft, a siaradwn drwy gyfieithydd. Pa le y mae Solomon, fy nghyfieithydd Hebreaidd? O, dyma fe. Yr wyf yn dyfalu mai Hebreaid yw y deg dyn yna. Dywed wrthynt am ddyfod ataf fi i'r swyddfa. O ba le yr ydych yn dyfod?

JUDAH. O wlad Canaan, fy arglwydd.

LLYWYDD. Pa beth ydych yn geisio?

JUDAH. Dyfod a wnaethom i brynu lluniaeth.

LLYWYDD. Nid wyf yn hoffi eich golwg. Yspïwyr ydych, ac i edrych noethder y wlad y daethoch. Y mae brad yn eich calonau; chwilio yr ydych am ein lleoedd gweiniaid, fel y galloch ddyfod a minteioedd i yspeilio yr Aifft.

JUDAH. Nage yn wir, fy arglwydd, i brynu lluniaeth y daethom. Meibion yr un gwr ydym ni. Y mae ein brawd ieuangaf gartref gyda ein tad.

LLYWYDD. Y dyn! Yr wyf fi yn dweyd mai yspïwyr ydych. A myn einioes Pharaoh, nid ewch allan hyd oni ddaw eich brawd ieuangaf yma, fel y gwypwyf a ydych yn dweyd y gwir.

JUDAH. O, fy arglwydd, os cedwir ni yn y carchar, pa fodd y daw ein brawd yma? Pwy a ä i'w ymofyn?

LLYWYDD. Carcharer *naw* o honoch, ac aed y llall i ymofyn y brawd ieuangaf, am yr hwn y crybwyllasoch; ac os nad ydyw i'w gael, dywedaf eto, Myn einioes Pharaoh yspïwyr ydych chwi. Ond cewch oll fyned i garchar heno. Mynaf hamdden i ystyried pa fodd i wneud â chwi.

JUDAH. Wel, wel, dyma ni mewn carchar yn yr Aifft, a'r

drws wedi ei gloi. Buom yma bellach dridiau. Ond, dyma y llywydd a'i gyfieithydd.

LLYWYDD. Bum yn dwys fyfyrio er's tair noswaith pa fodd i wneud â chwi, ac yr wyf wedi dod i'r penderfyniad y cadwaf un yn garcharor, a cha y naw eraill gymeryd ŷd rhag newynu eich teuluoedd. Ni fynwn er dim wneud cam â'r diniwaid, canys ofni Duw yr wyf fi. Pa le y mae eich arian?

DAN. Dyma hwy, fy arglwydd.

JUDAH. Gallwn siarad â'n gilydd heb i'r llywydd ein deall, canys y mae ei gyfieithydd wedi myned o'r ystafell. Yr wyf yn cofio am Dothan er pan ydym yn y carchar. Diau i ni yno bechu yn erbyn ein brawd. Gwelsom gyfyngdra ei enaid pan ymbiliodd efe â ni; ond ni wrandawsom, ac am hyny y daeth y cyfyngder hwn arnom.

REUBEN. Dadleuais fy ngoreu am i chwi beidio bod mor greulon wrth yr hogyn, ond ni wrandawsoch. Yr oeddwn i yn meddwl y gofynid ei waed ef; ond a ydych chwi yn sicr nad yw y llywydd yn ein deall? Parodd rhywbeth iddo ymliwio ac wylo pan oeddym yn siarad â'n gilydd, ac aeth i'r ystafell arall i sychu ei ddagrau. Dyma efe yn ol, ac y mae ceidwad y carchar ac eraill o'i weision gydag ef.

LLYWYDD. Pa un o honoch a rwymaf? Pa beth yw enw y llanc a'r llygaid creulawn yna?

JUDAH. Simeon, fy arglwydd.

LLYWYDD. Rhwymer hwna, ac edrychwch arno yn cael ei rwymo.

REUBEN. Druan oedd Simeon! Ond efe oedd y creulonaf wrth ei frawd er's llawer dydd. Dyma ni wedi ein gadael ein hunain eto.

## PEN. XII.

*Joseph yn anfon ei frodyr at eu tad.*

LLYWYDD. (Wrth ei weision). Llanwer eu sachau o ŷd, a rhodder eu harian ynddynt, a digon o fwyd ar hyd y ffordd. Cynhorthwywch hwy i godi y ffetanau ar eu hasynod, a dywedwch wrthynt am frysio at eu teuluoedd.

REUBEN. Dyna ni wedi teithio ugain milltir heddyw. Y mae yr anifeiliaid wedi blino, ac yr wyf finau wedi blino. Dyma bentref, llety, o digon o ddwfr. Gwell i ni aros yma heno.

JUDAH. Ydyw, yn wir, yr ydym oll wedi blino. Gadawer i ni ddadlwytho yr asynod, a rhodder ebran a dwfr iddynt.

REUBEN. Syndod! y mae yn ngenau fy ffetan fwyd, ddigon am fis! Ac yn enw pob peth, dyma fy arian i hefyd!

JUDAH. Dyma fy rhai inau! A fy rhai inau! medd Lefi. A fy rhai inau! medd pob un. Rhaid mai y llywydd orchymynodd eu rhoddi. Ai caredigrwydd yw hyn, tybed?

REUBEN. Pan welais y bwyd, tybiais hyny: ond y mae yr arian wedi fy nychrynu. Byddant yn sicr o yru ar ein hol, a'n dal, naill ai ar y ffordd, neu yn nhŷ ein tad, a'n cyhuddo o ddwyn yr arian.

JUDAH. Dyma foreu yr ail ddydd; codwch, lanciau, torodd y wawr. Y mae yn bryd i ni gyfrwyo ein hasynod, rhoddi y pynau arnynt, a chychwyn. Y mae genym daith pymtheg niwrnod eto. Dyma ni wedi teithio 14. Dyma fynydd Carmel, yn yr hen gymydogaeth. Ni feddwn 15 milltir eto. Byddwn gartref yn gynar yfory. Druan oedd ein tad! Dyma ni yn Hebron. Dacw Ben. wrth y drws.

REUBEN. Pa le y mae fy nhad, Ben.?

BEN. Yn y gwely.

REUBEN. A ydyw efe yn sal?

BEN. Na, cododd yn foreu heddyw, a bu lawer gwaith ar y ffridd uchaf yn edrych am danoch. Daeth y gair yma fod y rhai oedd yn cydfyned â chwi wedi dychwelyd er's tridiau. Dychrynodd hyn ef; ac erbyn heno yr oedd wedi blino, ac yn edrych yn ddigalon; ac aeth i'w wely yn gynar.

JACOB. A phwy yr wyt ti yn siarad, Ben.?

BEN. A Reuben, nhad.

JACOB. Ac y maent wedi dyfod! Diolch i'm Tad nefol. Mi godaf; na, yn wir, yr wyf yn rhy lesg. Reuben, tyred yma. Deuwch yma i gyd.

REUBEN. Dyma ni, nhad.

JACOB. A ydych chwi yn iach, fy mhlant anwyl i?

REUBEN. Ydym, nhad.

JACOB. A gawsoch chwi ŷd?

REUBEN. Do, ddigon.

JACOB. A fu y llywydd yn garedig?

REUBEN. Na—bu yn chwerw ac yn garedig. Tybiodd mai yspïwyr oeddym; a cheisiem brofi nad ê. Dywedasom ein bod unwaith yn ddeuddeg o frodyr, a bod un wedi marw, a'r ieuangaf gartref. Yr oeddym yn tybio y credai nad

yspïwyr oedd brodyr, plant yr un tad; ond dal i'n hameu yr oedd, a charcharodd ni oll am dridiau; yna daeth atom, a dywedodd y cai naw o honom fyned a lluniaeth i'n teulu-oedd, ac i gyrchu ein brawd ieuangaf, ac y cadwai un yn garcharor. Ymaflodd ei weision yn Simeon, a rhwymasant ef o flaen ein llygaid.

JACOB. Pa beth! a yw Simeon, fy ail fab, mewn cadwyn-au yn yr Aifft? Wel! wel! wel! ac yr ydych yn dysgwyl i mi ollwng Benjamin eto!

REUBEN. Ydym, yn wir, fy nhad; ar yr amod hyny y cawn Simeon yn rhydd; ac y mae y gwr yn tyngu na chred ein bod yn ddynion gonest nes y ca weled ein brawd ieuangaf. A phan oeddym yn rhoddi ebran i'r anifeiliaid ar y ffordd, cawsom fod arian pob un o honom yn ngenau ei sach. Dychrynodd hyn rai o honom: pa arwydd yw feddylit ti, nhad?

JACOB. O, arwydd ddrwg! Diau mai ceisio achos y mae yn eich erbyn. Ni chlywais ei fod yn dychwelyd yr arian i neb arall. Os ewch yno eto, bydd yn sicr o'ch cymeryd i fyny fel yspeilwyr. Ac a ydych yn dysgwyl i mi ollwng eich brawd ieuangaf gyda chwi! Ni ollyngaf fi Ben. yn wir. Y mae yn rhyfedd eich bod yn gofyn. Joseph nid yw fyw, Simeon hefyd nid yw fyw; ac a fynech chwi Ben. eto i'w ladd! Nid oes un tad fedrai ddal ergydion fel hyn.

REUBEN. Gollwng ef, fy nhad; mentra ef yn fy llaw i am unwaith. Dygaf ef yn ol yn sicr. Os na wnaf, cei ladd fy nau fab i.

JACOB. Yr wyt yn siarad yn ynfyd, Reuben. Pa gysur i mi fydd lladd dy ddau fab di, a fy ŵyrion fy hun? Gwnai hyny chwanegu fy ngofid. A phe lladdwn fy ŵyrion oll, marw fyddai Joseph, Simeon, a Benjamin wedy'n. Ond ni waeth i ti dewi, nid ä fy mab ieuangaf i wared gyda chwi.

REUBEN. Gollwng ef, fy nhad; O! gollwng ef. Pa beth a ddywedaf?

JACOB. Ei ollwng! na ollyngaf fi. Gwyddost i fy mhen wynu ar ol colli Joseph. Pe y collwn hwn eto ni fedrwn ddal. Byddai fy mhen gwyn yn rhwym o suddo mewn gofid i'r bedd.

Mae'r nefoedd yn fy erbyn,—Ydyw'n wir, ydyw'n wir,
A'r ddaear i mi'n ddychryn,—Ydyw'n wir;
Fy Jo. a ga'dd ei larpio, a'm Simeon hoff ei rwymo,
A Ben. a geisiant eto,—Gwnant yn wir;
Ni 'llyngai byth mo hono,—na na'n wir.

## PEN. XIII.

*Gollwng Benjamin.*

JACOB. Dyma flwyddyn heb wlaw eto! Rhaid fod rhyw gŵyn rhyfedd rhwng yr Arglwydd â thrigolion y wlad.

JUDAH. Ië, fy nhad. Y mae yr egin fuont unwaith yn wyrddleision wedi cochi, y borfa wedi gwywo, yr anifeiliaid yn brefu am ddwfr; a gwaeth na'r cwbl, y mae yr ŷd a ddygasom o'r Aifft wedi darfod.

JACOB. Ewch eilwaith, a phrynwch i ni luniaeth.

JUDAH. A adewi di i'n brawd ieuangaf ddyfod gyda ni?

JACOB. Na wnaf; paid a gofyn.

JUDAH. Nid awn ninau ynte; canys y mae y gwr wedi ein rhybuddio i beidio dangos ein hwynebau iddo, os na bydd ein brawd ieuangaf gyda ni.

JACOB. Paham y dywedasoch fod i chwi frawd arall?

JUDAH. Oni ofynodd y gwr, A oes frawd arall i chwi? Ni fuasai yn iawn i ni draethu anwiredd iddo; ac wrth addef y gwir, pa fodd y gwyddem y dywedai efe, Dygwch eich brawd yma?

JACOB. Ni ollyngaf Ben. dywedwch a fynoch.

JUDAH. Gollwng y bachgen, da nhad; af yn feichiau am dano. Os na ollyngi ef, nid awn hebddo, a'r canlyniad fydd i ti ac yntau, ninau a'n plant farw o newyn.

JACOB. Y mae yn well genyf fi fyned gyda'm plant a'm hŵyrion i'r bedd, na gollwng mab fy henaint, Hy! hy! hy!

JUDAH. Taw wylo, nhad; sych dy ddagrau, a gollwng y bachgen. Yr ydym wedi bod yn ymddadleu er's wythnosau. Buasai yn hawdd i ni yn y cyfamser fyned i'r Aifft, a dychwelyd. Os na ollyngi di ef yn union, rhaid i'r newyn sydd wrth y drws ddyfod i mewn.

JACOB. A oes yna *ddim* ŷd heb ei falu?

JUDAH. Nac oes, ddim. Y mae ein plant yn byw er's wythnosau ar ffrwythau, llysiau, ac almonau; ac y mae rhai o dy wyrion wedi trengu, ac eraill yn y darfodedigaeth, am eu bód yn cael rhy fach o fara.

JACOB. Wel, rhaid i mi gydsynio; ond yn wir nis gwn pa fodd. Cymerwch gyda chwi yn anrheg i'r gwr y goreu o ffrwythau y wlad. Efallai mai mewn camgymeriad y rhoddwyd yr arian yn ngenau eich sachau; ond dygwch

hwynt yn ol, a chymerwch gyda chwi y dau cymaint o arian a'r tro cyntaf. Cymerwch fab fy henaint hefyd; a Duw hollalluog a roddo i chwi drugaredd gerbron y gŵr, fel y gollyngo i chwi fy anwyl Simeon a'm Ben. Ceisiaf fyw heb neb o honoch am rai wythnosau. Nis gwn a allaf. Ond o derfydd am danaf, darfydded. Ffarwel, fy mhlant; ffarwel, Ben. anwyl.

JUDAH. Ffarwel, nhad. Paham yr wyt ti fel yna yn syrthio ar wddf Ben., yn ei gofleidio, a bron ei foddi â dagrau? A ollyngi di mo hono eto?

JACOB. Gwnaf fi; a Duw fy nhadau a'ch amddiffyno oll, yn enwedig mab fy henaint. Gofala di am Ben. Judah.

JUDAH. Gwnaf yn wir, fy nhad. Tangnefedd. Tyred Ben.; dewch, fy mrodyr, y mae yr asynod yn barod.

BEN. Pa lyn yw hwnacw, Judah?

JUDAH. Y Mor Marw, fy mrawd.

BEN. Pa anialwch yw hwn?

JUDAH. Anialwch Paran.

BEN. Pa fynydd yw hwnacw?

JUDAH. Mynydd Sinai.

BEN. Pa fôr yw yr un yma?

JUDAH. Y Mor Coch.

BEN. Pa afon yw yr afon fawr acw?

JUDAH. Y Nilus.

BEN. Pa un yw y ddinas fawr acw sydd ar ei glan hi?

JUDAH. Dacw Memphis, prifddinas yr Aifft. Yma y mae Pharaoh yn byw. Dyma ni ar ben y daith; a dacw y llywydd. Y mae wedi ein gweled, ac yn edrych arnat ti Ben.

## PEN. XIV.

*Joseph yn croesawu ei frodyr.*

LLYWYDD. (Wrth y stiward). A weli di y deg dyn acw? Cymer hwy i'r palas, a gorchymyn i'r cogyddion arlwyo gwledd; ac i'r trulliad ofalu am y gwin; canys y mae y bobl yma i giniawa gyda mi heddyw am haner dydd.

STIWARD. Paham yr ydych yn edrych mor gyffrous? Gwelaf fod y llanc ieuanc yna (Benjamin, onide?) yn gwyneblasu ac yn crynu.

REUBEN. Fy arglwydd, caniata i mi ddweyd gair o eglurhad. Wrth fyned adref y tro o'r blaen cafodd pob un o

honom ei arian yn ngenau ei sach. Nis gwyddom pwy a'u rhoddodd yno; canys yr ydym yn barod i wneud llw ein bod ni wedi eu talu. Yr ydym wedi eu dwyn yn ol yn eu llawn bwysau: ac os cawn ni ŷd eto, yr ydym yn barod i roddi cymaint arall am dano a'r tro o'r blaen. Ofni yr ydym cael ein cymeryd i fyny am yr arian hyny, a ninau yn ddieuog.

Stiward. Na, dim o'r fath beth, foneddigion. Heddwch fyddo i chwi; nac ofnwch: Duw eich tad a roddodd drysor i chwi yn eich ffetanau. Deuwch i mewn. Dyma i chwi ddwfr i olchi eich traed. Gofalwn am roddi ebran i'r asynod hefyd. Dyma Simeon eich brawd; cafodd bob caredigrwydd yn eich absenoldeb. A chofiwch, yr ydych i giniawa am haner dydd gyda'r llywydd.

Reuben. (Wrth ei frodyr). Un caredig yw y stiward yna. Gwyn fyd na byddai holl stiwardiaid y ddaear yn debyg iddo. Ond gwell i ni barotoi ein hanrhegion; canys y mae yn nesu at haner dydd, pan y daw y llywydd i mewn. Dyma efe!

Llywydd. Bore da, foneddigion.

Reuben. Bore da, fy arglwydd. Dyma anrheg fechan y mae ein hen dad yn ei hanfon i dy arglwyddiaeth. Gobeithio na ddigi wrtho ef a ninau, ac y rhynga bodd yn dy olwg dderbyn ein rhodd. Y mae yma ychydig o lysiau, myrr, a chnau, ac almonau, a balm, a mel.

Llywydd. Diolch i chwi. Y mae ffrwythau Canaan yn dderbyniol yn yr Aifft. Da genyf glywed fod eich tad yn fyw. A ydyw ef yn iach? Pa fodd yr ydych chwi yn teimlo ar ol eich taith?

Reuben. Ydyw, fy arglwydd, y mae ein tad yn hynod iach o'i oed. Yr ydym ninau yn iach, ac yn cydymgrymu mewn diolchgarwch i'r llywydd am iddo dderbyn ein rhodd, ac am ei ofyniadau caredig yn ein cylch.

Llywydd. Ai dyma eich brawd ieuangaf?

Reuben. Iё, fy arglwydd, dyma ein Benjamin.

Llywydd. Rhaid i mi gael rhoddi cusan iddo ef. Dyma y tro cyntaf i mi ymddyddan âg ef; ac yr wyf bob amser yn teimlo dyddordeb yn y plentyn ieuangaf. Duw a ro—— a roddo ra——ras i ti, fy mab. Esgusodwch fi am fynyd, rhaid i mi fy——fyned i'r——i'r ystafell arall.

Reuben. Pa beth yw y mater! A welsoch chwi ei ddagrau pan ysgydwai law â Ben.? Ceisiai eu cuddio â'i

gadach; yna troai draw, a'i wefusau yn glasu, a'i wyneb yn fflamgoch; a rhedeg i'r ystafell arall a ddarfu er mwyn cael lle i wylo. Dyna ei swn yn llefain yn uchel.

LLYWYDD. (Wrth ei weision). Gosodwch y byrddau,—fy mwrdd i yn uwchaf, bwrdd yr Hebreaid yn nesaf, a bwrdd yr Aifftiaid yn isaf. Eisteddwch chwithau i lawr:—Reuben, ti yw yr hynaf, eistedd di yn uwchaf; Simeon, eistedd dithau yn ail; Lefi yn drydydd; Judah yn bedwerydd; Dan yn bumed; Naphthali yn chweched; Gad yn seithfed; Aser yn wythfed; Issachar yn nawfed; Zabulon yn ddegfed; a Benjamin yn olaf.

REUBEN. (Wrtho ei hun). Y mae y parch a ddangosir i ni yn anesboniadwy; a dangosa y llywydd, o'r dechreu, fwy o serch at Ben., pa beth bynag all fod yr achos; ond yr ydym yn eithaf boddlon iddo.

LLYWYDD. Foneddigion, llenwch eich cwpanau â'r ddiod nad yw feddwol. Y mae yn dda genyf eich gweled oll, a'ch hysbysu fod yn yr Aifft ddigon eto o ŷd: boed clod i ragluniaeth a rhagddarbodaeth! ac anogwn bawb i ddiolch yn ddystaw i Frenin y nef. Boed iechyd da i'n cyfeillion dyeithr, yn enwedig y brawd ieuangaf, yr hwn nas gwelsom o'r blaen; a iechyd da a hir oes i'r hen wr eu tad y soniant am dano; ac addoled bawb Dduw yr Hebreaid.

JUDAH. Diolch i chwi drosom, yn enwedig dros ein brawd ieuangaf, yr hwn sydd yn rhy wylaidd i siarad, a thros ein hen dad; gallwyf ddweyd eu bod hwy yn nes at ein calonau, ac yn anwylach genym na ni ein hunain; ac y mae yn anmhosibl i ni beidio canfod gofal rhagluniaeth a bys Duw yn eich caredigrwydd.

## PEN. XV.

*Cwpan Joseph yn sach Benjamin.*

LLYWYDD. (Wrth ei olygwr). Llanw sachau yr Hebreaid o ŷd. Dyro ddigon o fwyd iddynt; ac arian pob un yn ngenau ei sach fel y tro o'r blaen. Ac yn sach yr ieuangaf dyro fy nghwpan i, sef y gwpan arian.

GOLYGWR. Gwnaethpwyd fel y gorchymynodd fy arglwydd.

LLYWYDD. (Wrth yr Hebreaid). Wel, foneddigion, medraf gydymdeimlo â'r hen wr eich tad. Gwn ei fod yn

bryderus, ac mai goreu ganddo po gyntaf y ca eich gweled; a chynghorwn chwi i gychwyn.

REUBEN. Diolch i fy arglwydd. Gwn fod pob un o'r dyddiau hyn yn ymddangos i fy nhad fel wythnos; cychwynwn yfory ar doriad y dydd. Gallwn fyned yn galonog wedi derbyn y fath groesaw. Y mae genym newyddion i'w dwyn i'n tad y tro yma ydynt yn sicr o godi ei ysbryd. Pan y gwel ei Simeon, ei Ben., a'i blant oll, a phan yr hysbyswn iddo y croesaw a gawsom, efe a ddychwela at ddyddiau ei ieuenctyd. Gwna hyn iddo edrych ugain mlynedd yn iau. Ffarwel i fy arglwydd. Diolch drosom oll; a bydded i Dduw yr Hebreaid dy fendithio.

GOLYGWR. Y maent wedi myned, fy arglwydd.

LLYWYDD. Pa bryd y cychwynasant?

GOLYGWR. Y bore heddyw.

LLYWYDD. Cymer un o'r camelod, a gyr ar eu holau. Cyhudda hwy o ddwyn fy nghwpan arian i. Brysia.

GOLYGWR. Hai! foneddigion, aroswch! Y llywydd barodd i mi ddyfod ar eich ol. Y mae wedi colli ei gwpan arian o'r hon yr yfai, â pha un yr arferai ddewiniaeth; ac ni waeth siarad yn eglur, y mae yn barnu fod un o honoch chwi wedi dwyn y gwpan.

REUBEN. Nyni wedi dwyn cwpan y llywydd! Na ddarfu i ni. Na ato ein Duw i ni wneud y fath beth. Nyni ddwyn cwpan ein harglwydd, wedi derbyn y fath garedigrwydd ganddo! Os ceir y gwpan gan un o honom ni, bydded hwnw farw; a boddlona y lleill fod yn gaethweision i fy arglwydd byth.

GOLYGWR. Na, ni fyn ein llywydd cyfiawn ni gospi y dieuog. Y neb y ceir y gwpan ganddo sydd i fod yn was. Ca y lleill fod yn rhyddion, a myned adref. Ond mae genyf *warrant* i'ch chwilio.

REUBEN. Da iawn. Brysiwch, lanciau. Tyned pob un o honoch ei ffetan oddiar ei asyn, ac agored hi.

GOLYGWR. Wel, dechreuaf ar ffetan yr hynaf. Dyma fwyd, dyma arian, dyma fyd. Nid oes yma ddim arall.

REUBEN. Nac oes, yr un gwpan yn fy ffetan i wedi i mi ei rhoddi yno; ac yn wir, nis gwn o ba le y daeth y bwyd a'r arian. Rhyw un heb yn wybod i mi a'u rhoddodd i mewn y tro o'r blaen a'r tro yma. Yr oeddit ti yn dweyd, Mr. Golygwr, pan ddygasom yr arian yn ol, mai Duw ein tadau a roddasai i ni drysor yn ein sachau.

GOLYGWR. Yr wyf wedi chwilio, ac heb gael y gwpan yn ffetanau Reuben, Simeon, Lefi, Judah, Dan, Naphthali, Gad, Aser, Issachar, a Zabulon. Nid oes ond un eto.

REUBEN. Yr wyf yn sicr na fedd Ben. druan, mor gwpan. Os oes greadur ar y ddaear yn rhy ddiniwaid, efe ydyw. Y mae yn debycach o beidio hawlio ei eiddo ei hun, nag ydyw i gymeryd eiddo arall.

GOLYGWR. Rhaid chwilio ei ffetan yntau hefyd. Dyma ei fwyd, dyma ei arian. Y mae yma rywbeth yn yr ŷd! Y mae yn teimlo yn debyg i gwpan. Dyma efe! Cwpan fy arglwydd yw. Ei gwpan drudfawr ydyw, o ba un yr yfai ar adegau neillduol. A ydych chwi ddim yn ei hadnabod? A welsoch chwi mor llywydd yn yfed o honi pan oeddych acw yn ciniawa?

JUDAH. Do, yr oeddym wedi sylwi ar y gwpan, ac yr ydym yn ei hadnabod, ac wedi ein taro â syndod! Ond pa beth a ddywedwn? Beth a wnawn? Pa fodd y daeth yna?

BEN. Ni ddygais i yn wir mo honi.

GOLYGWR. Peidiwch tynu eich gwallt, a rhwygo eich dillad. Nid oes dim i'w wneud ond ymaflyd yn yr euog, a'i gymeryd yn gaethwas yn ôl y gyfraith. Rhodder cadwynau am ei ddwylaw i'w ddwyn yn ol; canys peth ofnadwy oedd dwyn cwpan arian y llywydd.

BEN. Yn wir, Mr. Golygwr, yr wyf fi yn ddieuog. Ni chymeraswn holl wlad yr Aifft am ddwyn cwpan y llywydd.

GOLYGWR. Yn dy ffetan di y cafwyd hi, ac nid aeth y gwpan yno ei hunan. Tyred yn ol gyda mi, ca dy frodyr fyned adref. A fyni di dynu dy law o'r gadwyn i ffarwelio â hwy?

JUDAH. O! anwyl Olygwr! a ganiateir i ninau ddyfod yn ol i'r ddinas? Yn wir ni fedrwn fyned adref ac edrych ar Ben. yn cael ei ddwyn yn ol mewn cadwynau. Gwell genym ni farw gydag ef.

GOLYGWR. O, gellwch ddyfod i'r ddinas. Y mae y llywydd eto heb ddyfod o'i foreufwyd. Awn yn union ato, a cha efe wneud â chwi fel y gwelo yn dda.

LLYWYDD. Wel, fy ngolygwr, a gefaist ti fy nghwpan i?

GOLYGWR. Do, fy arglwydd.

LLYWYDD. Gan ba un o honynt?

GOLYGWR. Gan yr ieuangaf. A mynwn iddynt hwy fyned adref, ac i minau ddwyn yr euog yma i fod yn gaethwas, ond yr oedd hwnw yn crynu; rhwygai ei frodyr eu dillad, crefent am gael dyfod yn ol, a dyma hwy.

LLYWYDD. Pa beth yw hyn a wnaethoch? A oeddych chwi yn dysgwyl dianc? A wyddoch chwi ddim y medrai gwr fel myfi ddewiniaeth? Pa fodd y mentrech roddi dwylaw anonest ar y cwpan â pha un y gwnawn hyny?

JUDAH. Pa beth a ddywedwn? Pa fodd yr ymgyfiawnhawn? Yn sicr nid ydym yn euog. Ond y mae genym un gymwynas i'w gofyn i'n harglwydd, a dim ond un—a gawn ni *oll* fod yn gaethion i ti? oblegid yn wir, ni fedrwn fyned adref heb ein brawd. Gwell gan bob un o honom farw na hyny.

LLYWYDD. Na ato Duw i mi wneud hyn. Y gwr y cafwyd y gwpan yn ei ffetan, a fydd yn was i mi. Ewch chwithau mewn heddwch at eich tad.

## PEN. XVI.

*Eiriolaeth Judah, a Joseph yn hysbysu ei hun.*

JUDAH. O! fy arglwydd, na enyned dy lid at dy was. Caniata i mi ddweyd gair.

LLYWYDD. Wel, llefara. Aberthaf ychydig fynydau i wrando arnat.

JUDAH. Diolch i ti, fy arglwydd. Nid oes genyf ddim newydd i'w ddweyd; ond gallwn grynhoi i ychydig eiriau yr hyn a wyddost. Y mae hoedl ein tad yn nglyn wrth hoedl Ben.; ac yn wir, os awn i olwg yr hen wr heb fod y llanc gyda ni, marw fydd; ac aethum yn feichiau i'm tad y dygwn ef yn ol. Os na wnaf hyny, byddaf yn euog o fai yn ei erbyn ef byth; gan hyny, O! drugarog lywydd! yr wyf yn erfyn yn enw Duw fy nhad, gad i mi fod yn was i'm harglwydd, ac aed y llanc i fyny gyda'i frodyr. O! pa fodd yr af at fy nhad heb y llanc! Ni fedraf fi edrych ar ofid fy nhad, fy n—, fy nh—, O! fy an—anwyl hen dad! Esgusoda fy nagrau, O! ardderchog lywydd!

LLYWYDD. Gwnaf, gyfaill. Yr wyf yn hoffi clywed brawd teimladwy a doniol yn eiriol dros ei frawd ieuangaf a'i hen dad. Nid calon gareg sydd genyf fy hunan, ac nid yw fy nagrau yn mhell. Pob gwr dyeithr sydd yn yr ystafell, a welwch chwi yn dda fyned allan? Arosed yr unarddeg i mewn, a dim ond hwy. Dyna, cauer a chloer y drws. Wel, fy mrodyr, myfi yw——Hy, hy, hy! Esgusodwch fy nagrau a fy wylofain inau. O! hy, hy, hy! Es-

gusodwch fi; ymateliais yn rhy hir, ac y mae fy natur wedi ei gorchfygu. O! hy, hy, hy! Myfi yw Jo——O! hy, hy, hy! *Myfi yw Joseph.* A yw fy nhad eto yn fyw? O! hy, hy, hy!

AIFFTIWR. Pa beth yw y swn sydd yn nhy y llywydd?

ARALL. Y mae rhywun yn wylo! Yn wir gallwn feddwl eu bod yn wylo i gyd. Y maent wedi clywed yn y palas; ydynt yn wir, meddai y bwtler, ac y mae y brenin wedi synu.

AIFFTIWR. Dystawrwydd! Dyna lef y llywydd yr wyf yn sicr.

ARALL. Ië, yr wyf finau yn ei adnabod. Y mae wedi ymollwng. Pa beth all fod yr achos?

LLYWYDD. (Wrth ei frodyr). Myfi yw JOSEPH, EICH BRAWD CHWI.

JUDAH. Nid Joseph, y brawd a werthasom!!

REUBEN. Ië, yn wir, yr wyf yn awr yn adnabod y llygad a'r llais.

JOSEPH. Ië, myfi yw Joseph eich brawd chwi, yr hwn a werthasoch i'r Aifft.

REUBEN. Ië, i'r Aifft y cymerwyd ef; yr ydych yn cofio.

JOSEPH. Deuwch yn nes, fy mrodyr. Duw a'm hebryngodd i yma er mwyn achub einioes. Dwy flynedd o'r newyn sydd wedi myned heibio; y mae pump yn ol. Peidiwch digio wrthych eich hunain, fy mrodyr; ceisiwch weled llaw Duw yn yr hanes.

## PEN. XVII.

*Joseph fy mab eto yn fyw!*

JOSEPH. Wel, fy mrodyr, a ydych chwi wedi eich argyhoeddi yn awr mai myfi yw Joseph?

JUDAH. Ydym, fy mrawd.

JOSEPH. Ac y mae fy hen anwyl dad yn fyw ac yn iach eto! Ewch i fyny, mynegwch iddo fy holl anrhydedd i yn yr Aifft, a dywedwch wrtho yr hyn oll a welsoch.

JACOB. 'Ddaethoch chwi, blant? Buoch yn hir iawn y tro yma.

REUBEN. Do, nhad; ond y mae genym newydd y waith hon gwerth ei gyrchu.

JACOB. Dywedwch ef.

REUBEN. Y mae arnom ofn na chredi di ddim.

JACOB. Dywedwch, O! dywedwch ef.

REUBEN. Wel, *Y mae Joseph eto yn fyw, ac y mae yn llywydd ar holl wlad yr Aifft.*

JACOB. *Joseph* yn fyw!

JUDAH. Ydyw, yn wir, y mae fy nhad.

JACOB. Ah! ha! aha!

JUDAH. Och! y mae fy nhad yn llewygu! Y mae ei wyneb yn glasu—y chwys oer ar ei dalcen; ac Och! y mae ei galon wedi peidio curo! Dygwch ddwfr, golchwch ei arleisiau, cynheliwch ef â photelau, cysurwch ef ag afalau; canys y mae yn glaf, ydyw, y mae wedi marw o gariad! Dyna, y mae yn dadebru eto! Anadla, ail-gynhesa ei galon, ac y mae yn agor ei lygaid!

JACOB. Pa le yr ydwyf fi? pwy sydd o'm hamgylch? Ben., druan, wyt ti yna? Joseph yn fyw, ddywed'soch chwi! O! gellwair a chreulondeb! ail-agor hen glwyfau calon eich tad oeddynt wedi haner gau!

BEN. Ydyw, yn wir, nhad, y mae Joseph yn fyw, ac yn llywodraethu ar holl wlad yr Aifft; ac y mae yn dy wahodd di, dy blant, a dy wyrion, a'r oll o honom i ddyfod ato i fyw, a chymeryd yr oll o'n hanifeiliaid gyda ni, am y bydd eto bum mlynedd o newyn. A dywed y cawn fyw yn ngwlad Gosen, yn ei ymyl ef; ac y mae y brenin yn dweyd yr un peth.

JACOB. Joseph yn *fyw!* Nis medraf gredu. Buasai ei weled yn fyw yn y carchar yn ddigon genyf fi, heb son ei fod yn gyfaill i Pharaoh, ac yn llywodraethu ar holl wlad yr Aifft.

BEN. Ydyw, yn wir, nhad, *y mae Joseph eto yn fyw*, ac yn llywodraethu ar holl wlad yr Aifft.

JACOB. Pa beth yw yr holl gerbydau a welaf yn dyfod?

BEN. Cerbydau breiniol Pharaoh ydynt. Joseph sydd yn eu hanfon i'n cyrchu.

JACOB. Ai breuddwydio yr wyf! Os nad ê, rhaid fod rhywbeth yn hyn. Ymddangosa y meirch a'r cerbydau yn fwy dysglaer ac ysblenydd fel y dynesant yma. Ni allasai fy mhlant i byth gael y fath bethau heb ddyfod i gysylltiad â rhyw fawredd. Ai tybed fod Joseph yn fyw, ac yn gydnabyddus â brenin yr Aifft.

BRODYR. (Oll ar unwaith). Ydyw, yn wir, nhad; ac nid ydym wedi mynegi yr haner am ei fawredd.

Jacob. Wel, digon yw. Nid oes arnaf eisieu rhagor tu yma i'r gwynfyd. Af, fel y gwelwyf ef cyn fy marw. Judah, dos di yn mlaen, a dywed wrth Joseph ein bod ni ar y ffordd.

Judah. (Wrth Joseph). Yn awr, fy mrawd, y mae fy nhad yn dyfod, a'i eiddo, a'i blant, a'i wyrion. Y mae yna 66 o honynt; llanwant gerbydau Pharaoh.

Joseph. Ewch, fy ngweision; parotowch fy ngherbyd goreu. Af i gyfarfod fy nhad a'm teulu.

Judah. Y mae pob peth yn barod, fy mrawd.

Joseph. Tyred i'r cerbyd, Judah; eistedd wrth fy ochr i. Mae yn agos i 30 mlynedd er pan welais fy nhad! Yr oedd efe y pryd hwnw yn gant oed. Dacw y cerbydau yn dyfod! Yr wyf fi am eu cyfarfod yn nghanol tir Gosen. Yn mha gerbyd y mae fy nhad, Judah?

Judah. Yn y cerbyd blaenaf, fy mrawd.

Joseph. Dacw nhad! Wel, y mae amser wedi plygu ei war, a gwynu ei ben, a rhychu ei ruddiau. Mae yn edrych yn dda hefyd, pan y cofir am ei ofidiau a'i oedran. Y peth anwyl!

Jacob. Dacw fy mab Joseph! Y mae wedi newid! ond y mae delw fy Joseph arno er gwaethaf gauaf a haf, oerni a gwres deng mlynedd ar hugain. Dacw efe yn neidio o'i gerbyd; ymlusgaf finau o'm cerbyd. Y mae efe yn rhedeg; ceisiaf finau redeg.

Judah. Syrthiodd fy nhad, a syrthiodd fy mrawd ar ei wddf. Mae y ddau yn wylo, ac yn ceisio cusanu. Nid oes un o honynt wedi dweyd gair eto.

Jacob. Byddaf farw bellach, fy mab, gan i mi weled dy wyneb yn fyw.

Joseph. Na, fy anwyl dad, gobeithio y cawn fyw yn ymyl ein gilydd am rai blynyddau eto.

## PEN. XVIII.

*Joseph yn cyflwyno ei dad i Pharaoh.*

Joseph. A gaf fi ddweyd gair wrth ei fawrhydi y brenin.

Phar. Llefara, O! ardderchog lywydd.

Joseph. Wel, y mae fy hen dad, a'm brodyr, eu hanifeiliaid, a'r oll a feddant, wedi dyfod o Ganaan; ac y maent yn aros yn Gosen, ar lan yr afon. Nis gwn pa beth i'w ddweyd wrthynt.

PHAR. Y mae yn dda genyf glywed, a hoffwn eu gweled, a chael ymddyddan â hwynt.

JOSEPH. Gyda chenad ei fawrhydi, dyma bump o'm brodyr.

PHAR. Wel, foneddigion, yr wyf yn eich parchu er mwyn eich brawd. Gwn nad pobl segur ydych. Goddefwch i mi ofyn i chwi pa beth yw eich galwedigaethau?

REUBEN. Bugeiliaid yw dy weision, ac yr ydym wedi dwyn ein defaid a'n gwartheg gyda ni. Gwelsom borfa fras yn Gosen, a hoffem gael trigo yno, os gwel y brenin yn dda.

PHAR. Gwrando, fy llywydd; y mae yr Aifft i gyd o'th flaen, cyflea dy dad a'th frodyr yn y man a ddewisont.

JOSEPH. Esgusoded Pharaoh fi am ddwyn i'w bresenoldeb yr hen wr, fy nhad.

JACOB. Goddefed Pharaoh i hen batriarch ddweyd â llais crynedig, *Duw yr Hebreaid a'th fendithio.*

PHAR. Y mae yn weddus i minau ymgrymu o flaen penllwydni; canys pan fydd hwn ar ffordd cyfiawnder, y mae yn fwy anrhydeddus na choron yr Aifft. Pa faint yw dy oedran di hybarch batriarch?

JACOB. Nid yw dy was, fy arglwydd frenin, ond cant a deg ar hugain. Gwnaeth gofid i'm pen wynu yn gyflymach na'r eiddo'm tadau. Yr oedd fy nhad, Isaac, yn *gant a phedwar ugain* pan yn marw; ac yr oedd fy nhaid, Abraham, yn ymyl hyny; ond er eu bod haner can mlynedd yn hŷn nag wyf fi, yr wyf yn sicr eu bod yn edrych yn iau. Nid oes obaith i mi gyrhaedd eu hoedran hwy; canys helbulus a drwg fu blynyddoedd fy einioes i. Ymgrymaf eto, a dywedaf wrth Pharaoh, Duw fy nhadau a'th fendithio. Dydd da i'r brenin.

PHAR. Nid wyf yn rhyfeddu, fy llywydd, dy fod yn son am dy dad. Yn wir, hen wr braf ydyw. Methais atal fy nagrau yn ei bresenoldeb, ac ni fedraf eu sychu wedi iddo gefnu. Y mae yn anrhydedd i'r Aifft ei fod yn preswylio ynddi. Ymdreched pawb i'w wneud yn ddedwydd, ac estyn ei oes.

## PEN. XIX.

### *Joseph a gwely angau ei dad.*

REUBEN. Pa faint sydd er pan ydym yn yr Aifft, nhad?

JACOB. Y mae dwy flynedd ar bymtheg, fy machgen i.

Yr wyf yn ymyl cant a haner oed. Teimlwyf yn lled wanaidd, a rhaid i mi ymollwng i fy ngwely; ac y mae hiraeth wedi codi arnaf am weled Joseph a'i blant.

REUBEN. O! fy mrawd Joseph, y mae ein tad yn lled wanaidd, ac y mae arno awydd dy weled di a'th ddau fab.

JOSEPH. A yw ein tad yn sal iawn?

REUBEN. Nid yw yn boenus, ond y mae yn wanaidd, yn cadw ei wely, a chryn arwyddion ei fod yn nesu at ei ddiwedd.

JOSEPH. Awn i edrych am dano yn union. Manasseh ac Ephraim, gwnewch eich hunain yn barod; a fy ngweision, hwyliwch fy ngherbyd, a gyrwch i Gosen at dy fy nhad.

REUBEN. Fy nhad, y mae dy fab Joseph yma.

JACOB. Y mae efe, fy mhlentyn i. Dyro dy law, a chwyd fi ar fy eistedd.

JOSEPH. Pa fodd yr ydych chwi, fy nhad anwyl?

JACOB. Wel, yr wyf yn lled esmwyth, fy machgen i, ond fy mod yn wan. Gwn fod marw yn agos, a goreu genyf po agosaf; yr wyf yn barod iddo, ac y mae arnaf hiraeth am y nef lle y mae fy nhadau a'm Duw. Yr wyf wedi bod yn hir yn yr Aifft, ac wedi cael llawer o garedigrwydd; ond nid wyf am gael fy nghladdu yma: gwell genyf orwedd nos hir angau yn meddrod y teulu.

JOSEPH. Gofalaf fi am i ti gael hyny, fy nhad.

JACOB. A wnei di, yn wir, fy mhlentyn?

JOSEPH. Gwnaf, yn wir, fy nhad.

JACOB. A fyddai yn anhawdd genyt roddi dy law o dan fy morddwyd, a thyngu y gwnai hyn?

JOSEPH. Na fyddai, fy nhad. Yr wyf yn rhoddi fy llaw a'm llw i ti ar y mater.

JACOB. Diolch i ti, fy mhlentyn; y mae hyna yn gysur mawr i mi. Hoffwn yn awr roddi fy mhen ar y gobenydd, a gorphwys ychydig. Dyna, fy anwyl Joseph, cwyd fi i eistedd eto. Y mae genyf ragor i'w ddweyd; pwy sydd gyda thi? Y mae fy ngolwg yn pallu; yr wyf yn eu clywed, ond nis gallaf eu gweled.

JOSEPH. Fy nau fab, Manasseh ac Ephraim, sydd wrth dy wely, fy nhad.

JACOB. Rhyfedd iawn! gadawer i mi eu cofleidio a'u cusanu. Ni feddyliais, pan ddygwyd y siaced waedlyd ataf, y cawn weled fy Joseph; ond yn awr, dyma fi yn cael ymddyddan ag ef ac a'i feibion!

JOSEPH. Fy nhad, a weli di yn dda fenditbio fy mhlant? Y mae yr hynaf yn sefyll wrth dy law dde, a'r ieuangaf wrth dy aswy.

JACOB. Gwnaf, fy mab. Pa le y mae eu penau, fel y gosodwyf fy nwylaw arnynt? *Yr angel, yr hwn a'm gwaredodd i oddiwrth bob drwg, a fendithio y llanciau.*

JOSEPH. Fy nhad! O! fy nhad! paham y darfu i ti *groesi* dy ddwylaw? Y mae dy law dde ar ben Ephraim, yr ieuangaf, a dy law aswy ar ben Manasseh, yr hynaf!

JACOB. Mi wn, fy mab, mi wn. Bydd dy ddau blentyn yn fendigedig, ond yr ieuangaf a ragora. Duw a groesodd fy nwylaw, ac a osododd y dde ar ben Ephraim.

PLANT. Diolch i ti, taid. Gadawer i ni dy gusanu eto. Pa fodd yr wyt yn teimlo yn awr?

JACOB. Yr wyf yn hollol ddiboen, fy ŵyrion; ond teimlwyf fy hun yn myned wanach, wanach, a gwn fod hûn angau yn ymyl. Hoffwn gael fy mhlant oll at erchwyn fy ngwely am unwaith.

JOSEPH. Anfonaf am danynt, fy nhad; a dyma hwy yn dyfod.

JACOB. A ydych chwi yma oll, fy mhlant i?

REUBEN. Ydym, nhad.

JACOB. Rhyfedd iawn! Pa dad fel myfi gafodd fyw 147 o flynyddau, magu deuddeg o feibion, a'u cael oll wrth erchwyn ei wely pan yn marw! Ond y mae genyf air i'w ddweyd wrth ac am bob un o honoch, Gen. lxix.

REUBEN. Wel, fy nhad, yr wyt wedi dweyd pa beth ydym ni, a pha beth ddaw o honom; a oes genyt ti rywbeth i ti dy hun?

JACOB. O, oes, "*Am dy iachawdwriaeth di y dysgwyliais, Arglwydd.*"

REUBEN. A oes genyt ragor i'w ddweyd, fy nhad?

JACOB. Oes, un gair. Y mae Joseph wedi tyngu na chaf fy nghladdu yn yr Aifft, ond y cymer fi at fy nhadau, onid wyt ti, Joseph?

JOSEPH. Ydwyf, fy nhad, ac mi safaf at fy llw.

JACOB. Y mae arnaf eisieu nodi y lle. Cleddwch fi yn maes Machpelah, o flaen Mamre, yn ngwlad Canaan. Yno y claddasant Abraham, a Sarah ei wraig; Isaac, a Rebecca ei wraig; ac yno y cleddais i Leah. Y maent hwy, i'm teimladau i, wedi cynhesu y gwely. Y mae cerbyd fy Nhad nefol wedi dyfod i ymofyn fy ysbryd. *All right*, angylion.

REUBEN. Mae ein tad wedi llewygu!

JUDAH. Efallai y daw ato ei hun eto. Gwelsom ef yn llewygu o'r blaen, pan ddywedwyd wrtho fod Joseph yn fyw.

REUBEN. Na, yn wir, y mae yn annhebyg iawn heddyw i'r hyn ydoedd y pryd hwnw. Peidiodd anadlu, a dyrysodd ei *bwls* y pryd hwnw; ond y mae ei galon wedi darfod curo heddyw,—ydyw, *y mae wedi marw!*

JOSEPH. Fy nhad wedi marw! Nis medraf gredu. Fy nhad! fy nhad anwyl! O! ei wallt gwyn, ei ddwylaw oerion, a'i ruddiau anwyl! Goddefer i mi eu cusanu, a'u golchi â fy nagrau. Chwithau, y meddygon, peraroglwch ei gorff, fel na lygro, a chadwn arwyl am dano ddeg niwrnod a thrugain.

JUDAH. Pwy garia y newydd i dy Pharaoh fod ei tad wedi marw?

JOSEPH. Efallai y byddai yn well i mi ddwyn y newydd fy hun. A hoffwn gael siarad gair â Pharaoh yn nghylch y y claddedigaeth.

JUDAH. Ië, fy mrawd, nid oes neb gwell na thi i fyned at y brenin ar achlysur fel hwn.

JOSEPH. Gyda chenad fy arglwydd frenin. Efallai iddo glywed fod fy nhad wedi marw. Diolchai ar ei wely angau am garedigrwydd y brenin iddo. Ond yr oedd arno awydd mawr cael ei gladdu yn meddrod ei dadau. Gwnaeth i mi dyngu y cymerwn ef yno. Ac yn awr, rhynged bodd i'r brenin ganiatâu i mi fyned i hebrwng corff fy hen dad i wlad fy ngenedigaeth. Ni bum yno bellach er's deugain mlynedd.

PHAR. Do, fy llywydd, clywais fod dy dad wedi marw, a methais atal fy nagrau. Dos i'w gladdu yn ol dy ddymuniad. Cymer dy berthynasau, a holl foneddwyr yr Aifft gyda thi. A phe hyny yn weddus, byddai yn dda genyf ddyfod i'r claddedigaeth fy hunan.

## PEN XX.

*Joseph yn marw.*

JOSEPH. Wel, dyna ein tad yn y bedd. Nid ä byth o'm cof fy nheimladau ar fynwent Machpelah. Gwelais feddau Leah, chwaer fy mam; Isaac a Rebecca, fy nhaid a nain;

Abraham a Sarah, fy hen daid a'm nain; ac yn ddystaw, buasai yn dda genyf finau gael fy nghladdu yno. Gwelais yr hen dŷ y'm magwyd, a'r ystafell lle y bum yn cysgu ddegau o nosweithiau gyda'm tad. Bum yn rhoddi tro drwy y gymydogaeth; ond nid oedd neb yn fy adnabod, na minau yn adnabod neb, canys yr oedd deugain mlynedd er pan adawswn y fro. Yr wyf finau yn dechreu heneiddio; ac ofnwyf na chaf mwy dalu ymweliad â gwlad fy ngenedigaeth. Prin y dysgwyliaf gyrhaedd oedran fy nhadau.

REUBEN. Fy mrodyr, y mae Joseph ein brawd yn sal. Clywais fod y meddygon yn dweyd nad oes fawr obaith iddo wella. Y mae am ein gweled oll. A gawn ni fyned gyda'n gilydd i'r palas heno

JUDAH. Awn.

JOSEPH. Wel, fy mrodyr, yr wyf fi yn *marw!*

JUDAH. O! na, paid a son am farw; nid wyt eto ond *cant a deg*. Cyrhaeddodd ein tad 147, a'n taid 180, a'n hen daid 177.

JOSEPH. Na, yr wyf fi yn marw. Y mae fy natur wedi darfod. Pe treuliaswn fy oes yn Nghanaan, efallai y cyrhaeddaswn oedran fy nhadau. Bum yma yn gaethwas am 13 mlynedd. Ni allaf, ac nid oes arnaf awydd byw yn hwy.

JUDAH. O! ein brawd, pa fodd y gwnawn ni? pa fodd y gwna yr Aifft? ïe, pa fodd y gwna y byd hebot ti?

JOSEPH. Gwnewch yn burion, fy mrodyr. Nid oes golled am neb wedi ei farw tra byddo Duw yn fyw. Er cymaint o fawredd gefais yn yr Aifft, nid yma y mae fy nghalon, ac nid yma y bydd cartref eich teulu chwithau yn hir. Y mae yspryd proffwydoliaeth wedi disgyn arnaf yn fy ngwely; ac yr wyf yn dweyd, *Duw gan weled a ymwel â chwi, ac a'ch dwg chwi i fyny o'r wlad hon i'r wlad a dyngodd efe i Abraham, Isaac, a Jacob.* Y mae arnaf finau awydd cael fy nghladdu yn meddrod fy nhadau; ond ni feiddiaf ofyn am hyny i frenin a deiliaid yr Aifft yn awr. A ydych chwi yn addaw, fy mrodyr, rhybuddio eich plant a'ch ŵyrion i ddwyn fy esgyrn i fyny oddiyma?

JUDAH. Ydym, ein hanwyl frawd, yr ydym oll yn barod i wneud llw ar y mater.

JOSEPH. Diolch i chwi. Yr wyf fi yn credu adgyfodiad y meirw; a bydd yn dda genyf gael gorwedd a chodi yn agos i Abraham, Isaac, a Jacob, a'r teulu; ac y mae dawn

proffwydoliaeth yn sibrwd wrthyf nad pell oddiyno y gwna yr *Adgyfodiad a'r bywyd* ei fedd. Nid yw anrhydedd yr Aifft ddim yn fy ngolwg heddyw. Duw ein tadau a ofalo am danom, fy mrodyr, a'n plant, a'n hŵyrion. Yr angel! Dacw—.

JUDAH. O! y mae ein brawd wedi methu siarad,—rhydd ei ben ar y gobenydd; y mae ei wyneb yn glasu, a'i *bwls* yn llesgâu; ni wna sylw o neb; ydyw, *y mae Joseph ein brawd wedi marw!*

DYN A oes unman gallaf ddianc
Na ddaw angau ar fy ol?
BEIBL. Nac oes, nac oes, na ddych'myga,
Byth na ofyn beth mor ffol.
DYN. Draw i Ganaan mi a droaf,
BEIBL. Troa angau ar dy ol,
DYN. Tua'r Aifft, gan hyny, rhedaf,
BEIBL. Rheda angau ar dy ol.
DYN. I'r gwael fwthyn yr ymlusgaf,
BEIBL. Llusga angau ar dy ol,
DYN. I'r gwych balas yr olwyniaf,
BEIBL. Gyr yr angau ar dy ol.
DYN. At y gydair drithroed plygaf,
BEIBL. Plyga angau ar dy ol.
DYN I'r orseddfainc berlog dringaf,
BEIBL. Dringa angau ar dy ol.
DYN. Yn y groes yn dŷn ymaflaf,
BEIBL. Angau yno ddaw i'th 'nol.
PAUL. At yr Iesu fry ehedaf,
Angau ni ddaw ar fy ol.

---

## MOSES.—Ex. II.—XI.; Num. XXVII. a XXXI.; Deut. IV., VI., VIII., IX., X., a XXXIV.

### PEN. I.

*Geni Moses bach, a'i guddio.*

JOCHEBED. Diolch i'r nef, y mae fy un anwyl wedi ei eni, ac y mae yn dlws. Ond, o ran hyny, y mae pob baban yn dlws, yn enwedig yn ngolwg ei fam. Campwaith Duw o'r clai yw ei gorff ef, ac wedi yr adgyfodiad, gwna ef yn "degan i fyw byth." Y mae pechod heb ei anurddo, a'r byd heb dynu ei ddwylaw budron ar hyd-ddo. Y mae

corff baban yn dlws wedi i'r enaid fyned allan. Y mae ei lygaid a'i wefusau fel drysau yn gilagored wedi i'r trigianydd ddianc. Gwena, fel pe byddai yn ysmala ganddo ddarfod iddo roddi ei droed ar lawr oer ein daear ni. "Tlws i Dduw" yw fy mhlentyn i. Ond Och! *mab* ydyw. Ai tybed y boddant ef? Yn wir, ni chânt ei foddi, os medraf fi ei guddio.

Miriam. Pwy bia y babi bychan yma, mam?

Joch. Nyni, fy ngeneth i.

Mir. Pwy a'i rhoddodd i ni?

Joch. Duw, fy mhlentyn i.

Mir. Diolch iddo; y mae genyf fi ddau frawd yn awr. Y mae hwn yn dlysach nag Aaron. A gaf fi gusan ganddo, neu roddi cusan iddo, mam?

Aaron. Rhaid i minau gael cusan ganddo; caf, rhoddaf ef yn ol yn union.

Amram. Yn wir, Jochebed, byddai yn well i ni guddio ein tlws. Y mae gan bob Aifftddyn ac Aifftes awdurdod i ddyfod i dai yr Hebreaid, a chwilio am eu babanod i'w boddi; a chwilio y maent yn ddyfal yn y tai nesaf. Gwelais ddau bore heddyw yn croesi o'r naill dy i'r llall. Gwyddwn ar eu llechwedd pa beth oedd eu neges.

Joch. Yn wir, fy anwyl briod, peth anhawdd iawn yw cuddio baban. Os gadewir ef ei hunan, efallai y llefa pan fydd y chwilotwyr yn y tŷ, ac y dywed wrthynt pa le y mae. Ac os arosaf fi gydag ef, neu os arosa Miriam ei chwaer, efallai yr holir am danom ni, ac y ceir ef felly.

Am. Medr Duw ei guddio. Y mae ganddo ef aden i'w dodi drosto, llaw i'w gysgodi, a'i hunan i fod rhyngddo a'r perygl. Medr efe ddweyd *Ust* wrth faban, ac ufuddha hwnw, os bydd hyny yn ateb rhyw ddyben. Suer ef i gysgu, a rhodder ef yn y gell fechan sydd yn mhen draw y tŷ. Gall y naill a'r llall o honom fyned heibio y drws, a'i wylio yno.

Joch. Wel, fy mhriod, efallai mai tydi sydd yn iawn. Cydsyniaf a'th gais. Y mae y babi yn cysgu, gadawer i ni ei guddio.

Mir. Paham yr ydych yn rhoddi y babi yn y fan yna, mam?

Joch. Ei guddio yr ydym, fy ngeneth i, rhag i'r pethau bryntion ddyfod i chwilio, ei gael, a'i foddi. Paid ti a chymeryd arnat wrth neb y gwyddost pa le y mae.

MIR. O, ni wnaf fi ddim, mam; ond gallaf fyned heibio y drws, yn awr ac yn y man, heb gymeryd arnaf y gwn ei fod yno. Ac os bydd yn crio, gallaf droi i fewn yn ddystaw, a rhoddi ychydig laeth iddo o'r gostrel, a'i suo i gysgu.

JOCH. Gelli, fy ngeneth i.

AIFFTDDYN. Rap, tap; rap, tap, tap! A oes yma yr un baban? Yr wyf yn meddwl fod; ac y mae genyf hawl i chwilio. Ust! dyna lais plentyn. Pa le y mae?

JOCH. Aaron oedd yna, ac y mae efe yn dair oed. Nid ydych yn boddi plant o'r oedran hyny, ydych chwi? Tyred yma, Aaron, gad i'r gwr dyeithr dy weled.

AIFFTDDYN. Na, nid ydym yn boddi plant o'r oedran yna. Af ymaith yn awr, y mae arnaf frys i fyned i'r tŷ nesaf; galwaf eto. Y mae rhyw bethau yn peri i mi feddwl fod yma faban iau nag Aaron yn y tŷ, neu o'i amgylch. Dydd da i chwi.

JOCH. Dydd da i chwi.

MIR. Pa beth, mam! A ydynt hwy yn meddwl y cânt foddi y baban? Na chânt byth. Gan fod Duw wedi ei roddi i ni, ni oddefa efe iddynt hwy ei ddwyn a'i foddi.

AARON. Dwyn ein baban ni, a'i foddi! na chânt.

AM. Yn wir, bu agos i'r bychan ddweyd pa le yr oedd drwy wylo. Darfu i'w fam wneud haner twyll i'w ddiogelu. Yr ydym yn awr wedi ei gadw am dri mis yn y tŷ, ac ni allwn ei guddio yn hwy. Rhaid i ni ei anfon oddiyma i rywle, a pha beth a wnawn?

MIR. A allech chwi, fy anwyl rieni, ddim ei anfon i'w gadw at ein teidiau a'n neiniau ydynt yn byw yn nhŷ Lefi? Byddant hwy yn dyner o hono, canys y maent yn gwirioni arno; a gallwn i a chwithau fyned yno i'w weled pan fynem.

JOCH. Y mae arnaf ofn na byddai yn ddiogel yno. Y mae yr ymchwilwyr yn myned yn fwy manwl o hyd; ac nid ydynt yn arbed ty Lefi. Fy nghyngor i yw, gwneud cawell llafrwyn, ei ddwbio â chlai ac â phŷg, gosod y bachgen ynddo, a'i roddi yn mysg yr hesg ar fin yr afon. Ni bydd perygl i ddwfr ddyfod ato, canys gwneir llongau o lafrwyn glanau y Nile, Esa. xviii. 2. Y mae yr hesg yn sychion a chynes, a gallem fyned i edrych am y baban y bore a'r hwyr, a chymeryd bwyd iddo. Byddai yn well genyf iddo farw yno na marw yn y tŷ, neu iddynt hwy ddyfod yma, a'i ddwyn i'w foddi.

Mir. Wel, os hyn raid wneud, af finau bob dydd, a safaf o bell, heb gymeryd arnaf fy mod yn ei weled, i edrych pa beth a wneir iddo.

Am. Yr wyf yn foddlon i'r cynllun. Rhoddaf orchymyn am y cawell. Suer y baban i gysgu, a rhodder ef ynddo.

Joch. Wel, dyma y cawell yn barod, a'r baban ynddo wedi cysgu. Gallwn oll roddi ein cusanau ar ei ruddiau, a gadael ein dagrau yno. A gwell i ni ei gymeryd yn awr, wrth oleu y lleuad, i hesg glan yr afon.

Mir. Rhodder y cawell a fy mrawd bach yn y fan yma, mam. Y mae yma le sych, a'r hesg yn dalion a chynes; ac y mae yma beth codiad tir, fel y gallwn gael cyfle i weled o bell pa beth a wneir iddo.

Joch. Wel, fy ngeneth, rhaid cydsynio a'th gais. Mynaf weled ei wyneb unwaith eto. O! y mae y peth anwyl yn cysgu yn drwm. Ond rhaid cau arno, a chefnu. Duw yr Hebreaid fyddo gyda thi, fy anwyl blentyn.

Mir. Yn wir, y mae yn galed i fyned i'n tŷ, a'i adael yno ei hunan; ond os erys y Duw yr ydych yn son am dano gydag ef, bydd ganddo ddigon o gwmni. Af finau i edrych am dano yfory.

Joch. Wel, Miriam, a gefaist ti y cawell lle gadawsom ef?

Mir. Do, fy mam. Agorais ef, a rhoddais gusan i'r babi, a deffrodd. Cymerodd laeth genyf, ac ymollyngodd eilwaith i gysgu. Sefais wedi hyny i edrych pa beth a wneid iddo, a chan nad oedd neb yn agoshau, aethum ato drachefn ganol dydd, a rhoddais laeth iddo, ac ymollyngai i gysgu yn union. Gwnaf yr un peth eto heno. Ond rhaid fod ein Duw ni gydag ef, er na welais i mo hono.

Joch. Ydyw, fy ngeneth i. Rhaid fod yma wyrth, neu fod rhagluniaeth yn gwneud un o'i gweithredoedd anghyffredin.

Mir. O! fy mrawd bach anwyl; ac yr wyt yn fyw eto heddyw! Ond rhaid i mi gilio draw, a sefyll o bell, i edrych pa beth a wneir i ti.

## PEN. II.

*Cael Moses bach, a'i fagu.*

Mir. Dyna swn cerbydau yn dyfod! Dacw ryw foneddiges nodedig yn disgyn o'r blaenaf, a'i llancesau yn ei dilyn! Merch Pharaoh ydyw, a'i *maids of honour* sydd ar

ei hol! Dilynant hi hyd lan yr afon, ac ymddengys ei bod hi yn myned i ymolchi. Dacw hwy yn ymyl y cawell! Y mae arnaf ofn iddi ei weled; ac yn wir, y mae arnaf ofn braidd na welant mo hono. Och! Ha! y mae y dywysoges yn sefyll! Safant oll! a llithraf finau yn mlaen i'w clywed yn siarad. Ni wyddant nad plentyn ydwyf ddygwyddodd fod yn y lle ar y pryd.

MERCH PHARAOH. Pa beth yw hwnacw sydd yn yr hesg? Y mae yn debyg i gawell. A wna un o honoch chwi, fy llawforwynion, fod gystal a myned i'w gyrchu? Dyger ef yma. Agoraf fi ef. Syndod! Y mae yma faban yn effro, ac yn wylo. O! y peth anwyl! Wylaf finau. Un o blant yr Hebreaid ydyw. Deddf greulon fy nhad a achosodd iddo gael ei roddi yn y fan yma.

MAID OF HONOUR. Tori o galon wyf fi; tafler ef i'r afon: bydd yma ormod o Hebreaid drachefn; canys y maent fel pob 'Senters yn lluosogi wrth gael eu gorthrymu.

LLANCES ARALL. Whig wyf finau—pleidwraig pob rhyddid, tynerwch, ac iawnder. Ofnadwy fyddai i dywysoges yr Aifft daflu baban i'r afon. Mager ef, meddaf fi.

MERCH PHAR. Yr wyf finau am ei fagu. Y mae yn dda genyf am blant, ond ni welais erioed faban mor anwyl a hwn. Meddyliwn fod delw un o'r duwiau ar ei wyneb. Pwy a gawn i'w fagu?

MIR. O! dirionaf arglwyddes! a gaf fi alw mamaeth o'r Hebreesau, fel y mago y bachgen hwn i ti?

MERCH PHAR. Yr wyt tithau, fy ngeneth i, yn dlos, synhwyrol, a boneddigaidd; ac y mae dy gais yn rhesymol. Dos, brysia.

MIR. Brysiaf, fy arglwyddes. Mam, mam, daeth merch y brenin a'i llancesau at yr afon; gwelsant y cawell, cyrchasant ef, a thynasant allan fy mrawd. Yr oedd yn wylo, a wylodd y dywysoges hefyd. Y mae y baban yn awr ganddi yn ei mantell ysgarlad, ac y mae yn dotio arno. Gyrodd fi i alw un o'r Hebreesau i'w fagu. Brysiwch, da mam, rhag iddi feddwl am ryw gynllun arall. Cewch yr holl hanes genyf pan ddychwelwch.

JOCH. Rhaid i mi, Miriam, gael ychydig fynydau i ymolchi ac ymdrwsio, cyn ymddangos gerbron ei Mawrhydi. Nis gwn pa fodd y medraf ddal golwg y dywysoges, a chuddio teimladau mam, os caf dderbyn fy maban o'i llaw.

MERCH PHAR. A ydwyt ti yn fam?

JOCH. Ydwyf, fy arglwyddes.

MERCH PHAR. Pa faint yw oed dy faban?

JOCH. Tri mis, fy arglwyddes.

MERCH PHAR. Pa le y mae dy blentyn?

JOCH. Yr wyf wedi ei golli, fy arglwyddes.

MERCH PHAR. Wedi ei foddi y mae yn ddiau. Cefais y plentyn hwn heddyw mewn cawell yn yr hesg, ar lan yr afon. Yr wyf yn tybio mai un o blant yr Hebreaid ydyw; ond yr wyf yn tosturio wrtho, ac wedi syrthio mewn cariad âg ef. A wnai di ei fagu ef i mi? a minau a roddaf i ti dy gyflog.

JOCH. Y mae yn dda genyf blant, ac ystyriwyf yn anrhydedd i fagu hwn i dywysoges yr Aifft.

MERCH PHAR. Dyma efe i ti. Duw yr Hebreaid a'i bendithio, ac a'th fendithio dithau hefyd. Dyma gadwen aur i'w rhoddi am ei wddf, a'm delw i arni. Ond pa le y mae yr eneth fach dirion, synhwyrol, a chyflym, a redodd i dy ymofyn di?

JOCH. Darfu hi, fy mrenhines, flino wrth frysio, fel y mae wedi aros i orphwys yn fy nhŷ fi.

MERCH PHAR. Rhodder fy serch i ati, a'r tlysau yma iddi i gofio am danaf.

JOCH. Gwnaf. Duw yr Hebreaid a'th fendithio dithau, dirionaf dywysoges. Cymeraf bob gofal gyda'r bachgen.

MIR. Ac chwi gawsoch fy mrawd bach i'w fagu, onid do, fy mam? Diolch byth i Dduw yr Hebreaid. Efe a'i gwnaeth hi. Pe deuai hen Aifftddyn neu Aifftes ddu i'r tŷ yn awr, nid oes perygl iddynt ddwyn y baban, ai oes, mam?

JOCH. Nac oes, fy mhlentyn. Gallwn wahodd y neb a fynom i'w weled. Gallaf ei gymeryd allan i'r man fynwyf. Ni feiddia y mwyaf gwaedlyd o lofruddion babanod gyffwrdd ag ef. Dyma gadwen merch y brenin wrth ei wddf, ac y mae ei sel a'i hargraff hi arni.

MIR. Ië, y mae genyf finau hefyd dlysau, a'i sel hi arnynt. "Ah nhw," "Ah nhw," y gelynion. Gadawer i mi roddi cusan i'r baban.

AARON. Y mae genyf finau gusan i'w roddi i fy mrawd bach, a phenill i'w ganu iddo.

Hwi, Moses bach, ein baban ni,
A babi'r Lady hefyd;
Bu yn yr hesg, mae yn ei gryd,
A bydd yn d'wysog bywyd.

MIRIAM. Hen Aifftes ddu! tyr'd yma'n awr,
A dwg fy mrawd i'w foddi;
O! na, mae'r gadwen am ei wddf,
Ei gyffwrdd ef ni feiddi.
"Ah nhw! Ah nhw!"
Hwi! Hwi! Moses bach.

## PEN. III.

### *Y Berth yn llosgi.*

MOSES. Pwy sydd yn y berth yna?

ANGEL. Angel yr Arglwydd.

MOSES. Ai nid Duw wyt ti?

ANGEL. Nage, ei brif angel.

MOSES. Yr wyt yn galw dy hun yn Dduw Abraham, Isaac, a Jacob.

ANGEL. Ydwyf; y mae barddoniaeth yn goddef gwneud hyn am angel y cyfamod, prif gynrychiolydd Duw.

MOSES. A fuost ti ar neges yn y byd yma o'r blaen?

ANGEL. Do; myfi fu yn dal cleddyf tanllyd ysgwydedig i gadw ffordd pren y bywyd.

MOSES. Ai *tân* wyt ti? Y mae y berth lle yr wyt yn aros fel pe byddai tân ynddi.

ANGEL. Nage, *goleuni* wyf fi. Nid oes na brigyn, na deilen, na blodeuyn o'r berth lle yr wyf wedi llosgi na gwywo.

MOSES. Wel, mewn gwirionedd, yr wyt yn oleu—yn oleuach na'r haul; rhaid i mi guddio fy wyneb; ni fedraf ddal yr olwg arnat.

ANGEL. Cuddia dy wyneb, a diosg dy esgidiau hefyd o barch i fy Nuw i. Y mae ei angel ef pan ddaw ar neges yn cysegru y ddaear lle byddo.

MOSES. O, gwnaf, ac mi ddeuaf gam yn nes atat.

ANGEL. A wnei dithau ddweyd ychydig o dy hanes i mi? nid am nad wyf yn ei wybod, ond yr wyf yn hoffi clywed dy lais.

MOSES. Myfi gadwyd yn y cawell llafrwyn—a waredwyd gan ferch Pharaoh—a ddygwyd i fyny yn llys yr Aifft—a ddigiais y brenin drwy gydymdeimlo a'm brodyr—a ddiengais rhag ei lid at fy mherthynasau i Midian—a wnaethum gymwynas â saith o ferched Jethro yr offeiriad, ac a wahoddwyd i'w dy—cyflogwyd fi i wylio ei braidd, a phriod-

ais Sephora, un o'i ferched—yr wyf wedi bod gydag ef 40 mlynedd—byddaf yn arfer gyru y praidd o'r tu cefn i'r anialwch, a dyfod i'r fan yma i addoli, a gwnaethum hyny heddyw.

ANGEL. Y mae yn dda genyf dy gyfarfod, a chenyf neges atat. Y mae y Pharaoh oeddit ti yn adnabod yn yr Aifft wedi marw, a Pharaoh creulonach o lawer wedi dyfod yn ei le; gorthryma fy mhobl yn ddidrugaredd; yr wyf am i ti fyned i'w gwaredu.

MOSES. Myfi fyned at Pharaoh! Er fod y Pharaoh y diengais i rhagddo wedi marw, y mae wedi dweyd fy hanes wrth y Pharaoh presenol; a deallaf fod hwn yn greulonach na hwnw. Ni wrendy efe na phlant Israel arnaf fi; a phwy ddywedaf sydd wedi fy anfon?

ANGEL. Dywed wrth blant Israel mai Duw eu tadau—*Ydwyf yr Hwn ydwyf*, a'th anfonodd.

MOSES. Ni chredant fod yr Arglwydd wedi ymddangos i mi.

ANGEL. Dysg Duw i ti wneud gwyrthiau o flaen eu llygaid, fel y byddont yn rhwym o gredu mai efe a'th anfonodd di.

MOSES. Ni feddaf fi ddim dawn: "safndrwm a thafodrwm ydwyf."

ANGEL. Daw Duw gyda thi; efe a wnaeth enau i ddyn; medr ddysgu i'r mudan lefaru, a rhydd eiriau yn dy enau i'w dweyd wrth Pharaoh a phlant Israel.

MOSES. O! fy Arglwydd, esgusoda fi, ac anfon gyda rhywun arall.

ANGEL. Beth sydd ar y dyn! ni fedd Duw yr un mwy cymhwys na thydi. Daw Aaron dy frawd gyda thi; nid oes gan neb dafod fel efe; cai di roddi y meddyliau iddo ef, a deuaf finau gyda chwi eich dau.

MOSES. Pa le y caf afael ar fy mrawd?

ANGEL. Y mae efe yn yr Aifft gyda phobl yr Arglwydd, yn clywed eu hucheneidiau. Daw i'th gyfarfod i'r anialwch.

MOSES. Ni wn a fydd fy nhad-yn-nghyfraith yn foddlon i mi fyned, a chymeryd Sephora ei ferch, a'r ddau fachgen yma gyda ni, a gadael ei braidd yn yr anialwch.

ANGEL. O, bydd; parotoa Duw ei galon ef wedi i ti ddweyd dy resymau.

MOSES. Fy anwyl dad-yn-nghyfraith, buost yn garedig i mi er pan wyf yma. Y mae fy mrodyr, plant yr Arglwydd

sydd yn yr Aifft, yn cael eu gorthrymu yn dost; ac y mae Duw yn gorchymyn i mi fyned a'u dwyn oddiyno. A wyt ti yn foddlon i mi, a'm gwraig, a Gershom, ac Eliezer, dy ddau ŵyr fyned?

JETHRO. Rhaid boddloni, gan fod Duw yn gorchymyn. Cymer yr asyn goreu yna i gario Sephora a'r plant.

SEPHORA. Ffarwel, fy anwyl dad.

GERSHOM AC ELIEZER. Ffarwel, taid.

JETHRO. Ffarwel i chwi, fy mhlant, a'm hwyrion anwyl. Efallai na welwn ein gilydd mwy.

MOSES. O! gwnawn.

JETHRO. Dyma yr asyn, Sephora, a'r ddau blentyn yn dyfod yn eu holau! Pa beth sydd? a ddarfu i chwi anghofio rhywbeth?

SEPHORA. Na, methu myned drwy'r anialwch ddarfu i ni: safodd angel ar ein ffordd, a barnasom fod yn well i ni droi yn ol, a gadael i Moses ei hunan fyned i'r Aifft.

JETHRO. Wel, fy anwyliaid, y mae i chwi roesaw i aros gyda mi.

## PEN. IV.

*Moses yn dadleu a'r bobl ac a Pharaoh.*

MOSES. Pwy welaf yn dyfod i'm cyfarfod yn yr anialwch? Y mae yn debyg i Aaron fy mrawd, ond ei fod wedi heneiddio. Aaron ydyw!

AARON. Ai Moses wyt? Y mae ol amser arnat, fy mrawd. Esgusoda fi am dy gusanu: nid wyf yn meddwl i mi dy weled er's 40 mlynedd. Yr oedd rhyw ysbryd wedi fy nghynhyrfu i ddyfod i edrych am danat.

MOSES. Yr oedd angel Duw wedi peri i minau ddyfod i edrych am danat tithau. Pa fodd y mae arnoch chwi acw?

AARON. Drwg ofnadwy! Y mae yr hen Pharaoh oeddyt ti yn adnabod wedi marw, a daeth Pharaoh creulonach yn ei le, a'i stiwardiaid yn waeth nag yntau. Y mae rhyw alwad neillduol am briddfeini i adeiladu y pyramidiau, a'r bobl yn cael eu gweithio i angeu.

MOSES. Yr oeddwn wedi clywed ei bod yn ddrwg arnynt, ac y mae Duw wedi fy anfon i i'w gwaredu; a dywedodd y deuet ti gyda mi at y bobl ac at Pharaoh. A ddeui di, fy mrawd? Y mae genyt ti well tafod na myfi.

AARON. Deuaf fi; y mae rhywbeth wedi bod yn cynhyrfu fy ysbryd inau ar y mater.

MOSES. Gwell i ni fyned yn gyntaf at henuriaid meibion Israel.

AARON. (Wrth y bobl). Fy anwyl gydgenedl,—Y mae Duw wedi dweyd wrth Moses ei fod wedi clywed ein huchenneidiau, a'i fod am wneud gwyrthiau i'n gwaredu; ac y mae wedi ei ddewis ef a minau yn offerynau. Dyma y Moses a fagwyd gan ferch yr hen Pharaoh. Ni bu yn y wlad yma o'r blaen er's 40 mlynedd.

Y BOBL. Diolch i'r Arglwydd! Diolch iddo byth am edrych arnom! Ymgrymwn ac addolwn ef.

AARON. (Wrth Moses). Awn yn awr at Pharaoh, er nad oes genym fawr obaith y llwyddwn. Dydd da i ti y brenin Pharaoh.

PHAR. Ac i chwithau, foneddigion.

AARON. Duw yr Hebreaid a'n hanfonodd atat i ofyn a fuasit yn caniatâu i'w bobl ef sydd yn gaethion yn dy wlad fyned daith tridiau yn yr anialwch, ac aberthu iddo ef?

PHAR. Duw yr Hebreaid! Pwy ydyw hwnw? Nid adwaen i mo hono, ac ni ollyngaf yr Hebreaid; nid ei bobl ef, ond fy nghaethion i ydynt.

AARON. Y mae y bobl yn cwyno ar eu llafur, ac yn dymuno cael tridiau o wyliau.

PHAR. Gwyliau yn wir! Gormod o hyn maent yn gael; segur ydynt. Fy swyddogion, rhoddwch fwy o waith iddynt; yn lle bod eraill yn casglu gwellt i'w roddi yn gymysg a'r clai, cânt ei gasglu eu hunain, a gwneud yr un rhif o briddfeini bob dydd.

SWYDDOG. Gwnaethom fel y gorchymynaist, frenin; cawsant fyned drwy holl wlad yr Aifft i gasglu sofl yn lle gwellt, ond ni orphenasant a'u tasg fel arferol; curasom eu blaenoriaid am hyny, ac y maent yn cwyno yn erchyll.

PHAR. Ar Moses ac Aaron mae y bai; hwy a'u Duw sydd wedi aflonyddu y bobl. Cadwch lygad arnynt: gwnaf finau yr un peth; ofnadwy yw aflonyddu y bobl ar adeg fel hyn, pan mae cymaint o alwad am briddfeini. Dalier i drymhau eu gwaith fel na chaffont amser i edrych am eiriau ofer.

Y BOBL. O! chwi, Moses ac Aaron! Rhoddasoch ar ddeall i ni eich bod wedi dyfod yma i gymeryd ein beichiau oddiarnom, a'n rhyddhau; ond yn lle hyny y mae ein beichiau wedi eu dyblu, a'n cadwynau wedi eu tynhau. Taled Duw i chwi am roddi cleddyf yn llaw Pharaoh i'n lladd ni.

MOSES. Rhaid i mi fyned a dweyd fy nghwyn wrth Dduw eto. O! Arglwydd! i ba beth y'm hanfonaist? Yr oeddwn yn ofni mai drwg fyddai hi; ond y mae yn waeth nag y dychymygais.

ANGEL. Dos, a dywed wrth y bobl fod Duw wedi gwneud cyfamod â'u tadau, y buasai yn eu dwyn o'r Aifft, ac wedi arwyddo hwn â'i enw—*Duw Hollalluog;* ac y mae yn adnewyddu yr un cyfamod â chwithau, ac yn ei arwyddo â'i enw *Jehofah.*

MOSES. Y mae Duw yn peri i mi ddweyd wrthych fel hyn: "Myfi a'ch dygaf chwi allan oddi tan lwythau yr Aifftiaid â braich estynedig, a barnedigaethau mawrion; ac mi a'ch dygaf i'r wlad am yr hon y tyngais y rhoddwn hi i Abraham, Isaac, ac i Jacob; ac mi a'i rhoddaf i chwi. Myfi yw yr Arglwydd."

Y BOBL. Na wrandawer ar Moses; ni allwn ei gredu, yn wir. Da pe na wrandawsem ar Aaron ac yntau pan oeddynt yn gwneud addewidion i ni o'r blaen.

ANGEL. Moses! dos eto at Pharaoh, a dywed wrtho am ollwng meibion Israel o'u caethiwed.

MOSES. Nac af fi, yn wir. Wele, plant Israel ni wrandawant arnaf fi; a pha fodd i'm gwrandawai Pharaoh? Y mae yn llawer mwy gwangalon i fyned ato yn awr na'r tro o'r blaen pan fu Aaron a minau gydag ef.

ANGEL. Bydd yn rhaid i ti fyned, ac Aaron gyda thi. Rhydd Duw wialen cerydd yn dy law; ac os metha y wialen gyntaf blygu Pharaoh, cai un arall, ac un arall; a bydd yn rhaid iddo yn y diwedd naill ai plygu ai tori; myn Duw ei bobl allan. Y mae efe wedi estyn ei law, ac ni thyn hi i'w fynwes nes iddo orphen ei waith.

## PEN. V.

### *Y Plaau.*

ANGEL. Rhaid i chwi ymwroli, a myned eto eich dau at Pharaoh, a gofyn iddo am ollwng meibion Israel o'i wlad; a daw Duw gyda chwi.

MOSES. Ni awn, fy Arglwydd.

ANGEL. Ni wrendy Pharaoh arnoch yn union; gadewir ef i galedrwydd ei galon; ond myn Duw ei blygu, a gwneud iddo ef a'r Aifftiaid wybod mai efe yw yr Arglwydd.

MOSES. Ië, ond y mae swynwyr yr Aifft yn medru rhoddi

hug ar lygaid y bobl, a'u twyllo eu bod hwythau yn medru gwneud gwyrthiau; ac y mae Pharaoh yn eu credu.

ANGEL. Ond myn Duw ddangos iddynt hwy a Pharaoh y gwahaniaeth sydd rhwng twyll a gwirionedd.

MOSES. (WRTH PHARAOH). Yr wyf fi yn gofyn i ti eto, Pharaoh, yn enw Duw yr Hebreaid, am ollwng ei bobl ef i fyned i'w wasanaethu yn yr anialwch; ac os na wnei, mi darawaf y Nilus â'r wialen sydd yn fy llaw nes bydd ei dyfroedd hi a'r ffrydiau a redant iddi yn troi yn waed, fel y byddo yr holl bysg feirw, ac arogl y dyfroedd mor drwm fel na bydd modd ei yfed, na byw yn agos iddo.

PHAR. Medr swynwyr yr Aifft wneud yr holl ddyfroedd yn waed, yn arogli yn drwm, am hyny ni phlygaf fi.

MOSES. Gan na phlygi di, mi godaf fy ngwialen eto, ac a darawaf nes bydd yr afon, y tai, a holl derfynau dy wlad yn llawnion o lyffaint.

PHAR. Rhyfedd iawn! Y mae llyffaint yn y palas, ar ein gwelyau a'n byrddau pan yn bwyta ein swper! Dyna un mawr yn ymyl dysgl pen y bwrdd. "Bratha dy fforc i'w lygad Mrs. Pharaoh."

MRS. PHAR. Na wnaf fi yn wir, y mae arnaf fi ei ofn; tybiaf weled delw Duw yr Hebreaid yn ei lygaid.

PHAR. Galwer am Moses.

MOSES. Wele fi, frenin.

PHAR. Wel, yn wir, y mae y llyffaint yma yn annyoddefol. Nid ffug yw y rhai hyn, fel rhai y swynwyr. Da di, gweddia am i dy Dduw eu symud.

MOSES. Gwnaf hyn, hefyd. Pa bryd y dymunet gael eu symud?

PHAR. Goreu po gyntaf; erbyn yfory os oes modd.

MRS. PHAR. Cyfod, fy mhriod, y mae y llyffaint wedi meirw bob un yn ein hystafell wely, ac yn mhob ystafell drwy y palas, a dywed ein gweision eu bod wedi meirw yn mhob man drwy y wlad. Goreu po gyntaf y teflir hwy o'n ty; ac yn wir, dylid eu casglu o bob man o'r wlad, a'u taflu i'r afon, onide parant haint; y maent yn dechreu arogli yn drwm.

PHAR. Yn wir, un rhyfedd yw Duw yr Hebreaid yna; bu agos iddo fy mhlygu, ond yr wyf yn teimlo fy nghalon yn caledu eto. Ni ollyngaf ei bobl ef.

AARON. Gwelaf nad yw Pharaoh yn gadael i'r bobl fyned eto. Codaf finau y wialen yn awr, a tharawaf nes byddo holl lwch gwlad yr Aifft yn llau, ar ddyn ac ar anifail.

PHAR. A fedrwch chwi, swynwyr, wneud llau?

SWYNWR. Na fedrwn ni. Bys Duw yw hyn.

PHAR. Ni adawaf i'r bobl fyned eto. Ni cha miliynau o lau ystwytho fy nghalon.

MOSES. Gan dy fod yn dal i ymgyndynu, y mae Duw yn anfon chwilenod lonaid dy dŷ, a thai dy weision, a thros yr holl wlad, nes iddynt eu llygru a magu pob math o glefydau. A dal di sylw, na cha yr un chwilen roddi ei throed ar dir Gosen, ac ni bydd yno neb farw o'r pla.

PHAR. Gofyner i Moses ac Aaron ddyfod ataf fi.

MOSES. Wele ni, frenin.

PHAR. Aberthwch i'ch Duw yn ngwlad *Gosen.*

MOSES. O, na, gwnai hyny ni yn ffieidd-dra yn ngolwg yr Aifftiaid, canys arferwn ni aberthu hyrddod a theirw, y rhai y maent hwy yn addoli.

PHAR. Wel, ewch i'r anialwch, peidiwch myned yn mhell, a gweddiwch droswyf.

MOSES. Na, rhaid i ni fyned daith tridiau i'r anialwch, fel y dywedodd Duw. Mi a weddiaf ar yr Arglwydd am atal y pla; ond peidied Pharaoh a'n twyllo eto.

PHAR. Y mae y pla wedi ei atal; ond yr wyf yn teimlo fy nghalon yn cryfhau eto. Ni adawaf i'm caethweision ddianc. Ni cha eu Duw hwy fy nychrynu a'i chwilenod chwaith.

MOSES. Dyma ti wedi ein twyllo eto, Pharaoh; ac y mae ein Duw wedi penderfynu anfon haint yr anifeiliaid i'th wlad, fel y byddo meirw pob march, asyn, camel, eidion, a dafad.

SWYDDOG. Fy arglwydd frenin, Pharaoh, yr wyf wedi teithio heddyw drwy ran fawr o'n gwlad, a gwelais luoedd o anifeiliaid wedi meirw, a theflais fy llygad wrth fyned ar wlad Gosen, ac ni welais arwydd afiechyd ar yr un creadur yno.

PHAR. Ni waeth genyf; yr wyf yn teimlo fy nghalon yn myned yn galetach. Ymladdaf yn erbyn Duw yr Hebreaid yna hyd angeu.

MOSES. Gwelaf, Pharaoh, dy fod yn dal yn galed eto, ac y mae Duw yr Hebreaid yn penderfynu taro yn nes atat na'r anifeiliaid. Cyfyd cornwydydd arnat ti, dy weision, a'r swynwyr, fel y byddoch yn methu symud; a dilynir hyny gan bläau a haint y nodau, fel y byddo y meirw yn eich plith yn amlach na'r byw; a dilynir hyny gan saethiad mellt, rhuad taranau, a disgyniad cenllysg na bu eu bath yn yr

Aifft er y dydd y sylfaenwyd hi. Hwy a ddrylliant holl goed a llysiau y maes; ond bydd yn deg yn Gosen.

PHAR. Wel, y mae ergyd ar ol ergyd yn dilyn eu gilydd heb le i ymunioni rhyngddynt!

MOSES. Os byddi di neu rai o'th weision yn dewis casglu eich anifeiliaid i dai, cedwir hwynt.

SWYDDOG. Fy arglwydd frenin, y mae pob anifail i ti oedd yn y ty neithiwr yn fyw heddyw, ac y mae pob un adawyd ar y maes wedi marw, a deallwyf mai felly y mae drwy yr holl wlad; ac yr oedd dy weision oeddynt yn ofni yr Arglwydd wedi eu rhoddi oll i fewn, a'r lleill wedi eu gadael oll allan.

PHAR. Gofyner i Moses ac Aaron ddyfod yma eto.

MOSES. Wele ni, fy arglwydd.

PHAR. Pechais; yr Arglwydd sydd gyfiawn, a minau a'm pobl yn annuwiol; gweddiwch drosom y waith hon eto.

MOSES. Wel, pan elwyf allan o'r ddinas, gweddiaf drosot, ond gwn nad wyt ti na'th weision yn ofni yr Arglwydd eto; y mae rhywbeth yn eich golwg a'ch geiriau yn peri i mi feddwl hyny.

PHAR. Y mae yn goleuo, y cenllysg yn peidio, a'r mellt a'r taranau yn myned yn mhellach ac yn anamlach. Dyna yr olaf. Meddyliodd Duw yr Hebreaid y medrai fy nychrynu â'i daranau, ond ni phlygaf fi; ac yr wyf yn dysgwyl y caf lonydd ganddo yn fuan.

SWYDDOG. O! fy mrenin! y mae y locustiaid wedi gorchuddio yr holl wlad ond Gosen. Yr oeddynt yn disgyn mor dew nes oedd yr awyr yn tywyllu; ac y maent wedi difa pob gwelltyn glas a blaguryn pren a adawyd gan y cenllysg. Y mae dy holl weision yn dymuno am i ti adael i'r bobl yna fyned i aberthu i'w Duw cyn y byddont wedi ein dyfetha.

PHAR. Gofyner i Moses ac Aaron ddyfod yma eto.

MOSES. Wele ni, O! frenin.

PHAR. Ewch, gwasanaethwch eich Duw; ond pwy sydd yn myned?

MOSES. Rhaid i ni oll fyned.

PHAR. Gwell i chwi adael y rhai bychain. Pa beth wnewch a'r plant? ni bydd ond trafferth gyda hwy. Aed y gwyr; hyny oeddych yn geisio ar y cyntaf.

MOSES. Na, rhaid i ni gael myned oll. Yr ydym am gadw gwyl i'r Arglwydd.

PHAR. Wel, ewch; ond yr wyf fi yn credu fod eich bryd ar ryw ddrwg.

SWYDDOG. Fy arglwydd frenin, y mae gweddi Moses wedi ei gwrando. Daeth gwynt mawr o'r gorllewin, ac ysgubodd y locustiaid bob un i'r Mor Coch.

PHAR. Yr wyf yn lled sicr mai dyna y cynyg olaf. Teimlaf fy nghalon yn cryfhau yn erbyn Duw a'i bobl; ni ollyngaf hwy eto.

MOSES. Gwelaf, Pharaoh, dy fod wedi ein twyllo eto. Yn awr, y mae ein Duw yn anfon atat y genad olaf ond un, sef, *tywyllwch*.

PHAR. Wel, y mae hi yn dywyll! Ni welaf fy llaw, ac y mae fel hyn er's tridiau. A ydyw yr un fath yn mhob man, tybed?

SWYDDOG. Ydyw, drwy yr holl wlad, ond Gosen. Y mae yn dywyllwch y gellir ei deimlo. Nid oes neb yn codi allan. Y mae yn amlwg fod yr haul wedi digio wrthym, ac ni oleua y canwyllau; os pery fel hyn, cleddir ni oll yn fyw.

PHAR. Deued Moses ac Aaron yma unwaith eto.

MOSES. Wele ni, frenin.

PHAR. Ewch, oll, a gwasanaethwch yr Arglwydd, ond gadewch yr anifeiliaid ar ol.

MOSES. Na, mynwn ein hanifeiliaid, canys rhaid i ni aberthu i'n Duw yn yr anialwch.

PHAR. Y mae fy nghalon i mor galed ag y bu erioed; ni adawaf i chwi fyned yn wir. Dos o fy ngolwg i Moses. Gwylia ddangos dy wyneb i mi mwy. Ffarwel.

MOSES. Uniawn y dywedaist, ni welaf dy wyneb mwy.

## PEN, VI.

### *Y Pla diweddaf.*

ANGEL. Un pla eto ddug Duw ar Pharaoh a'r Aifft, yna gollynga chwi. Gwnewch eich hunain yn barod, drwy fenthyca gan yr Aifftiaid beth bynag fydd arnoch eisieu—yr ydych wedi hen dalu drwy eich llafur am fil mwy nag a gewch.

Y BOBL. Nid ydym yn gweled arwydd y gollyngir ni ymaith. Yr oedd Pharaoh yn waeth ei hwyl nag y bu erioed y tro olaf y bu Moses gydag ef; a dywedodd y lladdai efe ef os dangosai ei wyneb iddo mwy.

ANGEL. Gadawer rhwng Duw a Pharaoh. Mis *Nisan*, sef diwedd Mawrth a dechreu Ebrill, fydd i chwi mwyach yn ddechreu blwyddyn; a'r *degfed* dydd o'r mis hwn lleddwch oen gwryw, dianaf, ar gyfer pob teulu, neu hyn a hyn o bersonau; cymerwch dusw o isop, a throchwch ef yn y gwaed, a rhoddwch hwnw ar y ddau ystlysbost a chapan y drws, ac arosed pawb yn ei dy; canys ä yr Arglwydd heibio y noson hòno, ac a ladd y cyntafanedig i ddyn ac anifail, yn mhob ty lle na byddo arwydd y gwaed—o balas Pharaoh hyd y carchardy, lle y bydd y gaethes.

UN O'R BOBL. A ydyw Pharaoh yn gwybod hyn?

ANGEL. Ni bu Moses gydag ef yn bersonol, ond dywedodd fel y byddai am haner nos lle y clywai yr holl bobl; clywodd ei weision ef, a rhaid ei fod yntau wedi clywed.

AIFFTWR. Buom yn rhoddi tro fin nos yma heibio i holl dai yr Hebreaid, ac yr oedd pob un o'r ddau ystlysbost a chapan y drws wedi eu lliwio â gwaed! Ni welais erioed y fath beth!

MOSES. Dyma yr haul wedi machludo y nos hon; y mae Pharaoh a'i deulu a'r holl Aifftiaid wedi cysgu. Dacw angel dysglaer yn dyfod, a chleddyf noeth yn ei law. A heibio i holl dai yr Hebreaid sydd o dan arwydd y gwaed, ond try i dy pob Aifftwr; a gwelais ef yn myned i frenhindy Pharaoh. Diau fod y cyntafanedig wedi eu lladd yn mhob man! Pa beth fydd y canlyniad, tybed?

LLANCES. (WRTH PHARAOH). Fy arglwydd frenin, y mae o fewn chwarter i haner nos, ac y mae dy gyntafanedig mewn poen angherddol; os am ei weled yn fyw, fy arglwydd, brysied ei fam a thithau ddyfod i'w olwg.

PHAR. Deuwn mewn mynyd; rhed i ymofyn am y meddygon. O! fy nghyntafanedig, pa fodd yr wyt! A fedri di ddim siarad? Wyt ti ddim yn adnabod dy fam a minau! Dyna hi yn taro haner nos, a'i bwls yntau yn taro ei ergyd gwan olaf!

LLANCES. Nid oes modd cael meddyg, fy arglwydd frenin, y mae y cyntafanedig yn marw yn mhob ty, a phawb yn rhedeg ar ol meddygon; a chlywais fod cyntafanedigion anifeiliaid mewn poen, ac yn meirw yn mhob man.

PHAR. Pe buasid yn medru cael meddyg, y mae yn rhy ddiweddar; y mae ein cyntafanedig ni wedi marw.

GWAS. Bum inau yn rhoddi tro drwy wlad yr Aifft, ac yr oedd wedi haner nos arnaf yn dyfod adref. Bod y

cyntafanedig wedi marw oedd y waedd fawr a glywais i wrth bob ty, a'r un fath a ddywedid yn yr ysguboriau am gyntafanedigion pob anifail.

PENDEFIG. Y mae yma gwmni o honom, O frenin, wedi cytuno i ddyfod atat am hauer nos, a'n calonau oll yn friw, am fod ein cyntafanedigion wedi meirw. Credwn oll mai Duw yr Hebreaid sydd wedi digio, am dy fod yn gomedd gadael iddynt fyned i aberthu iddo yn ol ei gais. Da, freniu, gad iddynt fyned.

PHAR. Dywedwch wrth yr Hebreaid, Ewch o blith fy mhobl yn ol eich dymuniad; cymerwch eich defaid a'ch gwartheg gyda chwi, a bendithiwch Pharaoh.

PENDEFIG. Ië, ewch, brysiwch, rhag ofn i ni oll feirw.

AIFFT-DDYN. Gwelais y caethion yn myned bore heddyw. Yr oedd pob peth yn barod ganddynt er neithiwr. Yr oedd eu rhif yn 600,000 o feibion uwchlaw 20 oed, heblaw gwragedd a phlant, a phobl gymysg lawer; rhaid eu bod felly o ddwy i dair miliwn. Yr oedd golwg ardderchog ar y dyrfa yn cychwyn, yn arfogion; ac yn lle myned y ffordd agosaf drwy wlad y Philistiaid, aethant trwy anialwch y Mor Coch. Ac yr oedd eu Duw yn eu harwain y dydd mewn colofn o niwl i'w cysgodi rhag gwres yr haul, a'r nos yr oedd y golofn yn troi yn oleuni i ymlid y tywyllwch oddiwrthynt.

PHAR. Yr wyf yn teimlo fy nghalon yn caledu eto; y mae yn edifar genyf fi, a'r holl bendefigion sydd o'm hamgylch, adael i Israel fyned o'n gwasanaeth. Dyma y tro ffolaf a wnaethom erioed.

PENDEFIG. Gwell gyru ar eu holau.

PHAR. Yr wyf finau yn meddwl hyn. Tacler y cerbyd mawr i mi, a chwe chant o'r dewis gerbydau, a holl fân gerbydau yr Aifft, a chadben ar bob un o honynt. Erlidiwn, goddiweddwn, a rhanwn yr yspail. Gwnawn i Israel a'u Duw wybod pwy yw Pharaoh. Gan eu bod wedi myned ar hyd ffordd yr anialwch bydd yn hawdd i ni eu dal wrth y môr.

Y BOBL. Wel, dyma ni wrth y môr! Yr oedd Moses a'r golofn yn rhyfygus iawn wrth ein dwyn i'r fan yma, oni buasai eu bod wedi darparu llynges i ni groesi; ac fel mai byw ni, dyma fyddin yr Aifftiaid ar ein holau, ac yn ein hymyl! O! Moses, paham yr arweiniaist ni i'r fan yma? Buasai yn well i ni gael ein claddu yn yr Aifft na hyn; ac yr oeddym yn ofni mai fel hyn y gwnait ti.

MOSES. Nac ofnwch; sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd.

Y BOBL. Nac ofnwch, yn wir! Ni bu neb erioed yn y fath gyfyngder. Dyma y môr o'n blaen, amddiffynfeydd Piahiroth a Baalsephon o bob tu i ni, yr anialwch o'n hamgylch, a cherbydau a milwyr yr Aifftiaid yn ein hymyl; a'r dyn yn peri i ni beidio ofni!

MOSES. O! fy Nuw! pa beth a wnaf?

ANGEL. Paham y gwaeddi? Cyfod dy wialen, estyn dy law ar y môr; hollta ef, a dywed wrth feibion Israel am fyned yn eu blaen ar hyd dir sych.

HEBREAD. Bobl anwyl! Y mae y môr wedi hollti, ac y mae yna ffordd lydan galed drwy ei ganol; a fentrwn ni ei thramwy?

MOSES. Gwnawn, i hyny yr agorodd Duw hi. Dyma y golofn yn myned o'n blaenau, ac yn y golofn y mae Duw.

Y BOBL. Wel, mentrwn, gan hyny. Ond Och! dyna y golofn oedd o'n blaenau yn myned ar ein holau! Pa beth yw hyna da?

MOSES. Ni bydd eisieu colofn o'n blaenau. Y mae y môr yn furiau o'n hamgylch i'n cadw ar y ffordd, ac y mae y golofn am sefyll rhyngom â byddin yr Aifftiaid; canys y mae yna frwydr i fod yn y môr, ac y mae Duw ei hun am fod yn agosaf at y gelynion.

AIFFTWR. Dyma eu Duw wedi agor y môr iddynt! A fentrwn ni ar eu holau? Ai tybed y deil efe y môr yn agored i ninau eu dilyn? Efallai y bydd yn rhaid i estroniaid dalu toll.

PHAR. Mentro ar eu holau! gwnawn. Mi a erlidiaf, goddiweddaf, a rhanaf yr yspail. Caf fy ngwynfyd arnynt; tynaf fy nghledd, fy llaw a'u dyfetha hwynt. Ië, myfi a'm cadbeniaid dewisol a'm holl fyddin i droi yn ol yn awr! Na wnawn ni.

AIFFTWR. Gall y brenin erlid, a gwna; ond y mae goddiweddu a rhanu yr yspail yn beth amheus; canys y mae yr olaf o honynt hwy wedi glanio yr ochr arall i'r môr, a ninau yn ei ganol.

PHAR. Yr wyf fi yn meddwl i mi weled llygaid Duw yn edrych arnaf drwy y cwmwl ar y wyliadwriaeth fore.

PENDEFIG. Gwelais inau ef hefyd, a dychrynodd y meirch yn llawer o'r cerbydau. Nid aent yn eu byw yn eu blaenau.

PHAR. Y mae rhyw aflonyddwch ar fy meirch inau, ac y mae y cerbyd yn gyru yn drwm. Efallai y byddai yn well i ni droi yn ol, a ffoi oddiwrth Israel, canys y mae yn amlwg fod eu Duw yn ymladd drostynt.

PENDEFIG. Ni allwn fyned yn mlaen nac yn ol. Y mae olwynion ein cerbydau wedi eu tynu, a'r meirch a'r milwyr wedi ymwylltio. Beth pe byddai y muriau dwfr yn ymollwng! Ni all fod dim yn eu dal ond braich Duw yr Hebreaid. Pe byddai efe ond tynu ei fraich yn ol, dyna fel y byddai, a gwna hyny ond i Moses godi ei wialen.

PHAR. Dyma y muriau yn dyfod i lawr! Ffarwel, fy nghadbeniaid a'm milwyr, fy meirch a'm cerbydau.

MIRIAM.

Fy Moses hawddgaraf! mae'r gwragedd a minau
Yn brysur iawn heddyw yn hwylio'n tympanau;
A dawnsiwn oll hefyd, os cawn genyt genad,
A geiriau priodol i ddatgan ein teimlad;
Y fath fuddugoliaeth ni chlywyd am dani!
A pheidio ei chanmol a fyddai'n warth i ni.

MOSES.

Wel, cenwch i'r Arglwydd, fe wnaeth yn ardderchog,
I'r dyfnder y bwriodd y ffrom farch a'i farchog;
Drwy'r cwmwl edrychodd, a'r fyddin derfysgodd,
Ergydion ofnadwy o'i lygaid a saethodd;
Yn farw fel careg y cwympodd y gelyn,
Mae meddwl am dano hyd heddyw yn ddychryn.

Hen Pharaoh a floeddiai, Mi fynaf fi ddial,
Byth, byth ni orphwysaf, nes rhanu yr yspail;
Ond yspail i bysgod yr Aifftiaid a roddwyd,
A'r dyfroedd am danynt fel mantell amgauwyd;
Pwy fel ti, O! Arglwydd, a wna ryfeddodau!
Na enwer byth mwyach yr un o'r holl dduwiau.

Dy bobl arweiniaist heb leithio eu gwadnau,
Hyd wely y môr a chartref y tonau,
Y newydd a gyrhaedd i'r Aifft a gwlad Canaan,
Yn Edom a Moab y swniant yn fuan;
Eu "duciaid" a'u "hyrddod" mewn dychryn a ddeuant,
A syna gorthrymwyr y byd pan ddeallant.

## PEN. VII.

### *Moses yn marw.*

MOSES. Wel, dyma ni yn nghwr tir yr addewid; ond ni

chaf fi eich arwain i'r wlad, am i mi y tro diweddaf yn anialwch Sin daro y graig yn lle llefaru wrthi.

CALEB. Trueni, ar ol yr holl drafferth gefaist gyda ni o'r Aifft hyd yma, na chait ein dwyn i'r wlad. Nid oedd taro y graig yn drosedd mawr. Y mae Duw wedi bod yn bygwth, ac mewn atebiad i weddi wedi arbed. Ai tybed pe byddai i ti a ninau droi ato mewn gweddi na newidiai efe y ddedfryd, a chaniatâu i ti ddyfod gyda ni i'r wlad?

MOSES. Myfi yw yr arweinydd; ac y mae bod swyddog yn troseddu yn ngolwg y bobl, yn ei gwneud yn fwy pwysig i Dduw gyflawni ei fygythiad, na phe buasai yr holl bobl yn troseddu.

CALEB. A gallem ddadleu y bydd dy golli di cyn croesi yr Iorddonen yn fwy colled na'n colli i gyd

MOSES. O, gofala Duw am ryw un yn fy lle; ac y mae cystal genyf fi yn bersonol gael myned i'r Ganaan nefol cyn myned i'r un ddaearol.

CALEB. Ni allaf fi yn fy myw foddloni i ti beidio bod gyda ni yn croesi yr Iorddonen. Ymddengys fel pe byddai Duw a thithau yn gadael eich gwaith yn ymyl ei orphen.

MOSES. Ni edy Duw ei waith heb ei orphen. Y mae wedi gorchymyn i mi gymeryd Joshua, mab Nun, at Eleazer yr archoffeiriad, a'i urddo i fy swydd i yn ngolwg yr holl bobl.

JOSHUA. Gan mai ofer gweddïo am i Dduw estyn dy oes di, a oes genyt ddim cyfarwyddiadau i'w rhoddi i mi ac i'r bobl cyn ein gadael?

MOSES, Oes, lawer. Cofiwch am ddaioni Duw i chwi. Ni wnaeth gymaint i un genedl. Nid oes fawr o honoch yn cofio fel y gorthrymwyd eich tadau yn yr Aifft, ac fel y gwaredodd Duw chwi. Nid oedd y rhan fwyaf o honoch ond ieuainc pan wnaeth Duw ffordd drwy y môr i'ch tadau, yr anfonodd fwyd iddynt oddiar fwrdd angylion, ac y parodd i ddwfr o'r graig i'w disychedu a'u dilyn.

JOSHUA. Gwaredigaethau a breintiau tymhorol yw y rhai yna; da pe yr adgofit i'r genedl ieuanc yma y breintiau crefyddol a gawsant.

MOSES. Disgynodd Duw ar Sinai mewn rhwysg—galwodd fi ato i'r mynydd—ysgrifenodd y ddeddf â'i law ei hun—dysgodd pa fodd i adeiladu pabell i'w addoli, a gwneud allorau, arch, a thrugareddfa. Y mae ei ddeddfau yn yr arch gyda chwi, ac yr ydych chwi yn aml wedi eu troseddu yn waradwyddus.

JOSHUA. Pa ocheliad sydd genyt i'w roddi i ni wrth edrych yn mlaen?

MOSES. Y mae arnaf lawer mwy o ofn i chwi adael Duw, a thori ei ddeddfau, nag i Dduw eich gadael chwi. Os byddwch chwi yn ffyddlon iddo ef, a dysgu ei ddeddfau i'ch plant, y mae efe yn sicr o fod yn ffyddlon i chwi; ac os gwrthodwch ef, fel y mae arnaf ofn y gwnewch, yntau hefyd a'ch gwrthyd chwithau, ac nis gwn pa beth fydd y canlyniad.

REUBEN. Fel y llefarodd yr Arglwydd wrth dy weision, felly y gwnawn.

MOSES. Gan fy mod ar gyffiniau y wlad y bum am 40 mlynedd yn arwain y bobl tuag ati, buasai yn dda genyf gael ei gweled, er na chaf fyned iddi. Ond ni ellir ei gweled o Rosydd Moab yma.

ANGEL. A weli di gadwyn mynyddau *Abarim?* Deuaf fi gyda thi i ben yr uchaf o'r rhai yna, ac oddiyno gwelwn holl wlad Canaan.

MOSES. Pa beth yw enw y bryniau uchel acw?

ANGEL. Pisga yw yr uchaf, a Nebo yw yr agosaf ato.

MOSES. Bydd yn dda genyf ddyfod gyda thi i ben yr uchaf, ond bydd raid i'm gael yspïenddrych i weled y wlad. Yr wyf yn awr yn 120 oed, a fy llygaid yn pallu i weled yn mhell.

ANGEL. Gwna Duw dy ddau hen lygaid yn yspïenddrychau. A weli di yr afon yna sydd yn ymddolenu oddidanom, ac yn ymdywallt i'r Mor Marw wrth droed y mynydd yma?

MOSES. Gwelaf, fy Arglwydd.

ANGEL. Dyna afon yr Iorddonen: rhaid croesi hona; a dyna ddyffryn Jericho a dinas y palmwydd. A dacw wlad Gilead hyd Dan; a holl dir Nephtali, Ephraim, Manasseh, a Judah hyd y môr eithaf.

MOSES. Gwelaf hwy, ac yr wyf wedi cael fy llawn foddloni; ond gwelaf wlad well, a gwell genyf fyned i hòno. Canaf—

Oddiyma 'rwy'n canfod y wynfa ysprydol
Yn ganmil rhagorach na'r Ganaan ddaearol;
*I lawr* y mae llygredd, a chamwedd, a phechod—
Hen boenwyr! nis beiddiant hwy byth ddyfod uchod.
*I lawr* bydd raid ymladd, can's gwelaf elynion,
*I fyny* ceir heddwch—mae pawb yn gyfeillion;
*I lawr*, gan wylofain, y gwlychir y gruddiau.
*I fyny* eu Harglwydd sych ymaith eu dagrau;

*I lawr* y mae nychiant, afiechyd, ac alaeth,
*I fyny* cystuddiau a galar ffont ymaith;
*I lawr* mae marwolaeth—mi wela'i mynwentydd,
Ond nid oes eu heisieu yn ninas fy Arglwydd;
*I lawr* yn y babell, nid oes ond shecina,
*I fyny* y gwelir wynebpryd Jehofa;
Y wlad sydd o danaf ni chaf ond ei gweled,
Ond beth waeth am hyny, *i fyny 'rwy'n myned.*

ANGEL. Y mae Moses yn cau ei lygaid i farw, ac angylion yn cymeryd ei enaid i fynwes Abraham. Duw a drefna y claddu. Ni wahoddir neb i'r claddedigaeth ond teulu y nef. Ni wyr neb ar y ddaear nac yn uffern pa le y mae y bedd. Y mae ar y diafol awydd gwybod, a bu yn cablu Michael yr archangel am na ddywedai wrtho.

---

## NAOMI A RUTH.—RUTH I—IV.

### PEN. I.

*Naomi a'i theulu yn ymfudo.*

ELIMELECH. Yn sicr, Naomi, rhaid i ni a'n plant fyned oddiyma i ymofyn am fara. Y mae y newyn yn drwm iawn.

NAOMI. Pa fodd y gallwn adael ein cyfeillion? Y mae genyf fi berthynasau hoff, ac y mae genyt tithau berthynasau cyfoethog yma. Dyna Boaz yn perthyn yn agos i ti —un o'r gwyr mwyaf yn y wlad yma; ac y mae gan y plant gefnderoedd, cyfnitheroedd, a pherthynasau. Bydd yn anhawdd iawn i ni ymadael.

ELI. Ynfydrwydd yw siarad fel yna, pan y mae newyn yn edrych yn ein hwynebau. Nid oes yma na phorfa na dwfr i'r anifeiliaid. Y mae llawer o honynt wedi meirw, a'r rhai sydd yn fyw a'u hesgyrn drwy eu crwyn; ac un o'r dyddiau nesaf bydd ein plant yn gofyn am fara, heb ddim i dori iddynt. Rhaid cefnu ar olygfeydd mebyd a chyfeillion ar adegau fel hyn.

NA. Peth rhyfedd oedd i'n Tad nefol arwain Abraham i wlad fel hon! Bu yma newyn yn ei amser ef ac Isaac, ac yn amser Jacob, pan aeth ein tadau i'r Aifft i brynu lluniaeth.

ELI. Addefaf mai gwlad y newyn ydyw yn aml. Y mae

y tymhestloedd weithiau yn curo i lawr ac yn pydru cnwd y maes; a byddinoedd estroniaid brydiau eraill yn mathru ac yn bwyta y cwbl; a locustiaid brydiau eraill yn bwyta y wlad o'u blaenau; ac amlach na dim, y mae y sychder yn ein difa. Dyma ni yn awr heb wlaw er's blynyddau! Y mae pob pydew wedi sychu, a phob glaswelltyn wedi gwywo. Ni arosaf fi yma yn rhagor.

NA. Hawdd yw i ti, Elimelech, son am ymfudo. Peth helbulus fydd pacio a chychwyn, a chael bwyd ar hyd y ffordd. Ond i ba le yr wyt am ymfudo?

ELI. Dim ond i Moab, draw i'r Iorddonen. Y mae yno ddigon o dir gwastad, braf, i'w gael am ei drin, a deallwyf nad yw yn sych yno fel yma.

NA. Wel, y mae gwastadedd Moab yn y byd hwn, a gorthrymder sydd yma. Y nef wyr pa beth sydd o'n blaenau.

ELI. Rhaid i ni fyned. Yr wyf fi wedi pacio; ac y mae ein clud wedi ei anfon. Pa le y mae y ddau fachgen?

NA. O, rhedasant i ffarwelio a'u cefnderoedd, a rhai o'r cymydogion.

ELI. Awn ni heb ryw seremoni felly.

NA. Ië, ni waeth hyny. Ond pa fodd yr awn ni a'n hanifeiliaid drwy'r Iorddonen? Clywais lawer o son am Dduw yn gwneud gwyrthiau er mwyn i'n tadau ddyfod drosti.

ELI. Yr oedd y pryd hyny yn misoddd y cynhauaf; chwyddai dros ei glanau. Nid yw felly yn awr; y mae yn yr afon ddigon o rydau hawdd i'w croesi.

NA. Ai dyma dir Moab? Y mae yma wastadedd braf Pa fynydd yw hwna?

ELI. Dyma Nebo. Ar hwna y bu farw Moses, ac yma mewn glyn y mae Duw wedi ei gladdu.

NA. Ond pa fodd y cawn le i fyw yma?

ELI. Dacw ddau ffarmwr, gallwn ofyn iddynt hwy. Hai, wŷr dyeithr! dyeithriaid ydym ni yn dianc o Ganaan rhag y newyn; y mae genym glud ac anifeiliaid. A wyddoch pa le y gallwn gael fferm yma?

MOABIAID. Y mae yma ddigon o dir da i chwi i'w gael yn mron am ddim. Ewch at y llywodraeth; byddwch yn sicr o gael eich dewis le i wneud cartref; ond nid oes yma aneddau.

ELI. Ni a adeiladwn ein pabellau ein hunain. Y mae y

defnyddiau genym. Rhaid i ni foddloni ar gartref diaddurn yn y cychwyn. Y peth mwyaf yn ein golwg yw cael bwyd a diod i ni a'n hanifeiliaid.

## PEN. II.

*Priod a phlant Naomi yn marw.*

NA. Wel, fy machgen i, y mae yma ddigon o fwyd a diod, ac ambell gawod o wlaw; ond nid yw eich tad yn iach! Nis gwn pa beth sydd arno. Efallai nad yw y wlad yma yn cytuno ag ef. Yr oedd yn crynu neithiwr, ac y mae mewn clefyd poeth heddyw, os nad yn marw.

MAHLON. Tyred i'r babell, Chilion, i edrych am ein tad. Dywed fy mam ei fod mewn clefyd poeth. Cerdda yn ddystaw; y mae yn cysgu. Nhad! nhad! na, wedi marw y mae!

CHILION. Taw, fy mrawd. Yn wir, ofnwyf ei fod wedi marw. Nid yw yn anadlu. O! mam anwyl! mae ein tad wedi marw! Pa beth ddaw o honom mewn bro estronol?

NA. Peidiwch tori eich calonau, fy mhlant i. Claddwn ef mor barchus ag y medrwn. Y mae ein Duw yn fyw eto; ac y mae ein cymydogion yn garedig. Pwy oedd y ddwy eneth ddaethant i edrych am danom pan oedd eich tad wedi marw? Gwelais ddagrau yn eu llygaid.

MAH. Eu henwau yw Ruth ac Orpah. Y mae fy mrawd a minau wedi syrthio mewn cariad â hwy. Ruth yw fy anwylyd i, ac Orpah yw ei anwylyd yntau. A ydych chwi yn foddlon i ni briodi, ac iddynt hwy ddyfod yma i fyw?

NA. Ydwyf fi: bydd yn fendith eu cael i'n teulu bychan. Gobeithio na ddenant hwy chwi i addoli Duw y Moabiaid; ond yr enillwch chwi hwy i addoli ein Duw ni.

MAH. Gwnawn ein goreu, mam; gwnewch chwithau ein cynhorthwyo.

NA. Gwnaf, fy mhlant anwyl.

MAH. Dyma eich merched-yn-nghyfraith, mam.

NA. Yr Arglwydd a'ch bendithio, fy merched.

RUTH. Ai dyna eich Duw chwi, mam-yn-nghyfraith? Chemosh a Baalpeor yw enwau ein duwiau ni. Yr oeddym ni wedi hen ddiflasu ar eu haddoliadau. Pa fodd y byddwch chwi yn addoli eich Duw?

NA. Byddwn yn darllen ei gyfraith, yn canu ei fawl, ac yn galw arno mewn gweddi. Gwna Mahlon heddyw

ddarllen Deut. xxxii.; canwn gyda ein gilydd, a gweddiaf finau.

Ruth. Yr ydym yn hoffi eich Duw, a'ch dull o'i addoli, ac yn penderfynu eich dilyn. Addoled a gorphwysed ein mam-yn-nghyfraith; gweithiwn ni.

Na. Na, fy merched, gwell genyf fi wneud yr hyn a allwyf gyda fy meibion a chwithau. Yr ydym wedi bod yn ddedwydd gyda ein gilydd bellach er's blynyddau.

Ruth. Ydym, mam; ond y mae genyf newydd trwm heddyw. Y mae Mahlon yn sal! a dywedodd Orpah fod Chilion yn sal! Rhaid fod rhyw wenwyn i deulu Canaan yn awyr Rhosydd Moab. Y mae y ddau wedi marw! Buont feirw yr un mynydau! Dywedent fod y breichiau tragwyddol odditanynt.

Na. O! fy merched anwyl i! Dyma ein cartref wedi ei chwalu. Y mae fy mhriod a'm dau blentyn yn y bedd. Beth mae rhagluniaeth yn feddwl? Gwell i mi fyned yn ol i fy ngwlad. Clywais fod yno yn awr ddigon o fara.

Ruth. Ni cha ein mam fyned yn ol ei hunan; deuwn ni i'w hebrwng.

## PEN. III.

*Ruth yn glynu ac Orpah yn cefnu.*

Na. Diolch i chwi, fy merched; yr ydych wedi dyfod yn ddigon pell. Gwell i chwi ddychwelyd i dŷ eich mamau. Yr ydych yn ferched ieuainc hardd a rhinweddol. Byddwch yn sicr o gael gwyr gwell na fy meibion i. Gadewch i mi roddi cusan ffarwel i chwi. Paham yr ydych yn wylo?

Ruth. Na, yn wir, mam, ni allwn dy adael yn y fan yma. Hebryngwn di yn mhellach.

Na. Dychwelwch oddiyma, fy merched. Ni feddaf feibion eto i fod yn wyr i chwi. Ni welaf ddim ond tlodi ac angen o fy mlaen. Y mae yn anwyl genyf am danoch, ac yn ddrwg genyf drosoch, am i law yr Arglwydd fyned i'm herbyn. Dychwelwch, fy merched. Paham yr ydych yn wylo? Yr ydych yn tori fy nghalon i.

Orpah. Wel, rhoddwch gusan ffarwel i mi, fy mam. Ffarwel! ffarwel!

Na. Dyna dy chwaer yn myned, anwylaf Ruth. Trueni ei gweled yn myned ei hunan. Y beth fwyn! Gwell i ti redeg ar ei hol cyn yr ä o'r golwg.

RUTH. Ydyw, mam, y mae yn myned dan wylo; ac yr wyf yn synu ei bod yn myned. Os ydyw ei hunan, y mae yn ei gwlad, nid pell oddicartref; ond pe gadawn di, byddit dy hunan, yn mhell oddicartref.

NA. Paid, fy mhleutyn, a theimlo droswyf fi. Hen wraig ydwyf fi yn cefnu ar y byd. Ni byddai golled i neb, nac yn siomedigaeth i minau, pe'm cleddid yfory.

RUTH. Nac erfyn arnaf ymadaw â thi. Nid yn unig lle yr elych di yr af finau, a lle y lletyech di y lletyaf finau; ond dy bobl di fydd fy mhobl i, a dy Dduw di fydd fy Nuw i; a lle y byddech di farw y byddaf finau farw, ac yno y'm cleddir.

NA. Ni ofynaf it' gefnu mwy. Yr wyt wedi rhoddi digon o brawf o'th ymlyniad. Awn gyda ein gilydd.

Wrth deithio y byd, nis gwyddom beth ddaw,
Ein gorthrymderau blin a guddia Duw a'i law;
Pe gwelswn beth a fu cyn symud o fy lle,
Ni all'sa' newyn du na dawn fy nghychwyn byth o dre'.

RUTH.

Pa'm 'roeddit ti mor daer am i mi fyn'd yn ol?
Fy anwyl chwaer a aeth at ei gau-dduwiau ffol;
Pe d'wed'sit haner gair, mi wn nad aethai hi;
A dedwydd fuasai i ni fod ein dwy fach gyda thi.

NAOMI.

Mi gamgymerais, do, mi welaf hyny'n awr,
Can's edrych gormod wnes ar orthrymderau'r llawr,
Heb gofio, pan droi'n ol, y cefnai ar ein Duw;
Ei gloywon ddagrau ar y pryd a gofiaf tra b'wyf byw.

RUTH.

Bum lawer gyda hi yn more dydd fy oes,
A hithau gyda mi pan gariem ein dwy groes,
Mae colli y fath un i mi yn ergyd trwm,
A theimlo'i chusan ffarwel wna fy nghalon fel y plwm.

## PEN. IV.

### *Ruth yn lloffa.*

YMOFYNYDD. Pwy ydyw y wraig a'r ferch ieuanc acw sydd ar yr heol?

HANESYDD. A ydwyt yn cofio yn amser newyn ddeng

mlynedd yn ol, i Elimelech, ei wraig, a'i ddau fab fyned oddiyma i wlad Moab i ymofyn am fwyd?

YM. Ydwyf. Yr oeddwn yn eu hadnabod yn dda. Gwelais hwy yn cychwyn. Hebryngais hwy, a wylais lawer ar eu holau. Mahlon a Chilion oedd enwau y meibion.

HAN. Wel, y mae y tad a'r ddau fab wedi meirw, a'r fam Naomi yw yr hen wraig yna.

YM. Ai hona yw Naomi? Rhyfedd fel y mae wedi heneiddio! Yr oedd yn wraig ganol oed, landeg, pan yn myned oddiyma; ac nid oes ond deng mlynedd er hyny. Ai Naomi ydyw hi mewn difrif?

HAN. Ië, yn wir.

YM. Y mae amser wedi gwynu ei gwallt, aredig ei hwyneb, camu ei gwar, a'i baeddu o'r gwadn hyd y coryn! Ond pwy yw yr eneth ieuanc sydd gyda hi?

HAN. Ei merch-yn-nghyfraith, gweddw Mahlon ei mab ydyw. Dywedir ei bod o deulu brenhinol Moab.

YM. Rhyfedd iawn! Y mae hi yn ieuanc a hardd! Bydd yn hawdd i hona gael priod. Rhyfedd iddi adael ei gwlad, a dilyn yr hen wraig yna. Rhaid fod y weddw ieuanc wedi syrthio mewn cariad â Duw yr hen wraig.

HAN. Ydyw, y mae y ddwy wedi cymeryd tŷ yn Bethlehem, ac yn meddwl byw gyda eu gilydd.

YM. Druain o honynt! Pa beth gânt at eu cynhaliaeth?

HAN. Gofelir am danynt. Y mae y fath beth a rhagluniaeth yn bod; ac y mae llawer o ffermwyr cyfoethocaf y wlad yn perthyn i Naomi.

RUTH. Mam anwyl, ni allwn fyw wrth ddarllen ac addoli; rhaid i ni wneud rhywbeth i gael bara. Y mae cynhauaf yr heiddiau wedi dechreu, ac y mae pawb yn brysur. Gwelaf fod llawer o ferched y wlad hon yn byw wrth loffa. Y mae y maes mawr sydd yn ymyl y dref yn perthyn i lawer o foneddigion; af fi yno, ac efallai y rhydd rhai o'r medelwyr wahoddiad i mi loffa ar eu holau.

NA. Wel, dos, fy merch; eto pan gofiwyf dy fod yn un o deulu brenhinol Moab, bydd yn ddrwg genyf dy weled yn lloffa, ac yn dwyn adref dy faich; ond pe buasai fy nghefn i yn ddigon ystwyth, daethwn gyda thi.

GWAS. Dacw yr eneth o wlad Moab wedi dyfod i'r maes. Y mae golwg anwyl arni. Rhoddaf awgrym iddi i ddyfod i loffa ar eich ol chwi.

MEDELWR. Purion; gwna. Ond dacw ein meistr, Boaz. Pa beth a ddywed efe, tybed?

BOAZ. Dydd da i chwi, fy medelwyr. Yr Arglwydd fyddo gyda chwi.

MED. Yr Arglwydd a'th fendithio dithau, ein meistr.

BOAZ. Pwy yw y llances yna sydd yn lloffa ar ol y medelwyr?

GWAS. Dyna, fy arglwydd, y llances o wlad Moab, a ddychwelodd gyda Naomi. Daeth yma boreu heddyw, a gofynodd a gawsai loffa yn mysg yr ysgubau. Methais nacâu.

BOAZ. O, mi glywais son am dani. Y mae arnaf eisieu siarad â hi. Na ddychryna, Ruth. Da genyf dy weled, fy merch. Paid a myned i loffa i faes arall. Dilyn fy llancesau a fy medelwyr i. Pan fyddo syched arnat, dos at y llestri, ac yf o'r hyn a ollyngodd y llanciau. Yr wyf wedi eu rhybuddio i beidio cymeryd hyfdra arnat.

RUTH. O! fy arglwydd! pa fodd y cefais ffafr yn dy olwg, a minau yn alltudes!

BOAZ. Anwylaf ferch! yr wyf yn gwybod dy hanes, a hanes dy deulu. Mynegwyd i mi yr hyn a wnaethost i dy fam-yn-nghyfraith wedi marw ei phriod a'i phlant; y modd y gadewaist wlad dy enedigaeth, ac y daethost at bobl na adwaenit. Yr oedd Elimelech, gwr Naomi, yn perthyn i mi, ac yn gyfaill mynwesol; felly yr ydwyt tithau wedi dyfod i'r teulu. Yr Arglwydd sydd yn talu i ti am dy garedigrwydd i'r meirw a'r byw.

RUTH. Y mae fy nghalon yn orlawn o ddiolch i'r Arglwydd a thithau.

BOAZ. Dylem oll ddiolch i'r Arglwydd; ond ni raid i ti ddiolch i mi am gael lloffa. A phan weloch di y medelwyr a'm llancesau i yn myned at eu bwyd, tyred gyda hwy; bwyta ein bara ni, a gwlych dy damaid yn ein gwin.

GWAS. Rhyfedd fel y mae meistr wedi ymserchu yn llances Moab! Rhoddodd hi i eistedd ar ginio wrth ochr y medelwyr. Estynodd iddi gras yd fwy na fedrai fwyta. Rhybuddiodd y llanciau am adael iddi loffa rhwng yr ysgubau—am iddynt beidio ei chilgwthio, a gollwng peth o'r ysgubau iddi.

NA. Wel, fy merch, yn rhandir pwy y buost yn lloffa?

RUTH. Yn rhandir Boaz, fy mam; ac yr oedd y llanciau a'r llancesau yn garedig iawn wrthyf, a daeth y boneddwr

ei hunan i'r maes. Caniatâodd i mi ddilyn y medelwyr, a lloffa rhwng yr ysgubau; a dywedodd wrthynt am ollwng peth o'r ysgubau i mi. Gwahoddodd fi i'r babell i fwyta. Torai fara, ac estynai ef i mi ei hunan; ac yr oeddwn yn cael gwlychu fy nhamaid yn eu gwin hwy.

Na. O, yr wyf yn adnabod Boaz. Yr oedd yn perthyn i fy niweddar anwyl briod, a'r cyfaill penaf a feddai.

Ruth. Oedd; dywedodd wrthyf ei fod yn perthyn i fy nhad-yn-nghyfraith, ac arddelodd berthynas â minau.

Na. Ond a ydyw yr hyn a loffaist wedi ei ddyrnu? Pa faint o haidd sydd genyt?

Ruth. Y mae genyf epha, digon i wneud bara i ni am bythefnos.

Na. Bendigedig fyddo efe gan yr Arglwydd; wrth wneud caredigrwydd a'r byw dangosodd barch i'r marw.

Ruth. Dywedodd Boaz y cawn ddilyn ei lancesau ef hyd ddiwedd y cynhauaf; ac os medraf bob dydd gasglu epha, bydd genyf ddigon i wneud bara i ni ein dwy drwy y flwyddyn, a llawer i'w werthu er cael enllun a gwisgoedd.

## PEN. V.

### *Ruth yn priodi.*

Na. Gwrando, Ruth; y mae Boaz yn un o'r boneddigion cyfoethocaf a charedicaf yn y wlad. Byddant heno yn nithio ei haidd yn y llawr-dyrnu, a bydd efe yn sicr o aros yn yr ysgubor i wylio yr ŷd. Gan iddo fod mor garedig wrthyt yn y maes, cynghorwn di i'w ddilyn i'r ysgubor; ac wedi iddo gysgu, noetha ei draed, a gorwedd wrthynt. Efallai y pryn efe y maes sydd yn eiddo i ni ar ol ein gwŷr. A phwy wyr na chynygia ei hun yn briod i ti.

Ruth. Taw, fy mam. Gweddw ieuanc wyf fi. Y mae Boaz mor hyned a thithau. Pe priodid ni byddai yn ieuo anghymharus o ran oedran.

Na. O, na, y mae llawer o'r patrieirch wedi priodi gwragedd iau na hwy eu hunain, ac wedi byw yn ddedwydd. Pwy fu yn ddedwyddach nag Abraham a Sarah?

Ruth. A fyddai ddim yn anweddaidd i weddw ieuanc fyned at hen wr boneddig, a noethi ei draed, a gorwedd wrthynt?

Na. Na, y mae yn arferiad yma fod merched yn myned i garu; ac y mae cymeriad Boaz a thithau uwchlaw amheu-

aeth. Nid oes neb feddylia yn ddrwg am danoch, er i ti fyned ato i'r ysgubor. Noetha ei draed, a gorwedd wrthynt. Yr arferiad gyffredin yn y wlad hon yw, fod morwynion yn cysgu wrth draed eu meistriaid.

RUTH. Yn sicr, mi wnaf fel yr wyt yn ceisio. Y mae Boaz wedi myned i gysgu i gwr yr ysgafn; af finau ato yn ddystaw, dynoethaf ei draed, a gorweddaf wrthynt. Och! dyna efe yn deffro! Y mae yn troi yn gynhyrfus! Pa beth a wnaf? Y mae arnaf ofn iddo ddigio, fy nghymeryd i fyny, a'm rhoddi yn ngharchar.

BOAZ. Pa beth sydd yna! Pwy wyt ti?

RUTH. Myfi yw Ruth, dy lawforwyn. Yr oeddit yn gâr i fy nhad-yn-nghyfraith, ac yr wyt yn gyfathrachwr i minau. Dyfod atat fel plentyn diniwaid a diamddiffyn yr wyf.

BOAZ. Ië, fy merch, amddiffynaf di. Bendigedig gan yr Arglwydd ydwyt. Clywais am dy garedigrwydd i Elimelech a dy briod yn nhir Moab. Gwn am dy anwyldeb i Naomi dy fam; a dangosi fwy o serch ataf fi na'r oll, gan nad aethost ar ol gwyr ieuainc, tlawd na chyfoethog, ond at hen wr fel myfi.

RUTH. Fy arglwydd, gan dy fod yn addo fy amddiffyn, caniata i mi ddweyd fy nghŵyn. Y mae yma ddarn o dir oedd yn perthyn i Elimelech, fy nhad-yn-nghyfraith. Wedi iddo farw, daeth yn eiddo Mahlon fy mhriod i. Y mae yn awr yn eiddo Naomi a minau. Bydd yn rhaid i ni ei werthu i gael modd i fyw. Collid felly enw teulu Elimelech o Israel. Ac ni waeth i mi lefaru yn eglur; fy nghynygiad ydyw i ti ei brynu, a fy nghymeryd i yn wraig, fel y cadwer yn y tir enw y teulu.

BOAZ. Yr wyf wedi addo mynu chware teg i ti, ac yr wyf yn awr yn estyn fy aden drosot, ac yn ail-gadarnhau fy addewid; ond y mae yma berthynas nes i Elimelech na myfi; ac yn ol y gyfraith rhaid iddo ef gael y cynyg cyntaf ar y tir a thithau; os na bydd ef yn eich cymeryd, myfi yw y nesaf. Gofalaf fi am danoch. Gwnaf, fel mai byw yr Arglwydd. Cwsg hyd y boreu.

RUTH. Y mae yn dechreu dyddio. Gwell i mi fyned at fy chwegr.

BOAZ. Dos, fy merch. Ni waeth heb gyhoeddi i ti fod gyda mi neithiwr. Y mae yn mhob oes a gwlad feibion a merched yn byw ar wneud ystorïau, ac eraill yn ymbesgi wrth fwyta eu cawl. Ni waeth heb roddi defnyddiau

iddynt; ond aros: gad i mi roddi chwe mesur o'r haidd yma yn dy fantell i'w gymeryd gyda thi.

RUTH. Mam! mam! ydych chwi yn cysgu?

NA. Pwy sydd yna?

RUTH. Myfi yw Ruth. Yn awr y daethum o'r llawr-dyrnu.

NA. Pa fodd y bu arnat?

RUTH. Gwnaethum fel y gorchymynaist. Dynoethais draed Boaz pan oedd yn cysgu, a gorweddais wrthynt. Deffrodd yntau. Gofynodd pwy oedd yno; addefais wrtho, a dywedais fy neges. Taflodd ei aden droswyf, a dywedodd y prynai y tir; a rhoddodd awgrymiad y cymerai fi yn wraig, os na bydd rhyw gâr nes yn fy hawlio. Y mae efe yn myned i ymddyddan â hwnw heddyw; a rhoddodd i mi chwe mesur o haidd, gan ddweyd na chawn ddod at fy chwegr yn waglaw.

BOAZ. Dacw gâr agosaf Elimelech yn myned heibio. Ho! Hwn a hwn, tyred yma, ac eistedded deg o henuriaid y ddinas yn dystion o'n hymddyddan. Yn awr, rhaid i Naomi werthu y rhan o'r maes oedd yn eiddo ein brawd Elimelech. Tydi yw y berthynas agosaf, a chenyt ti, yn ol y gyfraith, y mae yr hawl i gael y cynyg cyntaf ar y tir ac ar y weddw ieuanc. Os wyt am eu prynu, dywed; ac onide, prynaf fi hwynt.

HWN A HWN. Yr wyf wedi rhoddi fy hawl i fyny.

BOAZ. Diosg dy esgid, a dod hi i mi; canys dyna y gyfraith wrth drosglwyddo tir o feddiant y naill i'r llall. Yn awr, yr wyf yn galw y deg henadur, a'r holl bobl, yn dystion fy mod i heddyw wedi prynu yr hyn oll oedd eiddo Elimelech; yr wyf hefyd wedi prynu Ruth, gweddw Mahlon, i fod yn briod i mi.

HENADUR. Y mae plentyn gan Ruth, yr hwn a fydd iddi yn well na saith o feibion, ac o'i llinach hi y daw Gwaredwr y byd.

NA. Bendigedig fyddo fy ŵyr. Gadawer i mi ei gael yn fy mynwes, a bod yn famaeth iddo. Gwyddwn o'r blaen pa beth oedd cariad mam at ei phlant; ond heddyw y gwybum pa beth oedd cariad nain at ei hŵyr.

---

## DAFYDD.

### PEN. I.

*Y Cawr yn beiddio Israel.*

HANESYDD. Y mae yn myned yn rhyfel eto rhwng Israel

a'r Philistiaid! Ydyw, yn wir; y mae y byddinoedd wyneb yn wyneb—Israel ar y mynydd sydd un ochr i ddyffryn Elah, a'r Philistiaid ar y mynydd sydd yr ochr arall.

YMOFYNYDD. A yw byddin y Philistiaid yn lluosog y waith hon?

HAN. Ydyw; gorchuddiant y mynydd, ac y mae yn eu plith ryw ddyn mawr, mawr. Y mae o dair i bedair llath o daldra, helm o bres am ei ben, coler bres am ei wddf, llurig emog am ei gorff, botasau pres am ei goesau; y mae yn bres ac yn emau o'i ben i'w draed. Y mae paladr ei waewffon fel carfan gwehydd, ac yn 8 lath o hyd! a'i phen haiarn yn 38 o bwysau! Y mae ei ryfel-wisg a'i arfau yn gryn lwyth ceffyl—yn 273 o bwysau! ac y mae dyn yn myned o'i flaen gan ddwyn tarian.

YM. Yr wyf yn synu at bwysau ei ryfel-wisg a'i arfau. Y mae 273 o bwysau yn llwyth asyn; buasai yn ddigon o waith i'r dyn cryfaf eu cario am haner diwrnod, heb son am ymladd ynddynt.

HAN. Yr esboniad sydd genyf ar hyn yw, dweyd fod Goliath o Gath yn gawr cryfach na phedwar o ddynion cyffredin. Ond gadawer i ni fyned i olwg y byddinoedd a'r cawr; bydd eu gweled yn llawer mwy effeithiol na gwrando arnaf fi yn ceisio eu darlunio. Dacw y cawr yn sefyll yn ymyl byddin Israel! Clywer ei lais croch!

GOLIATH. "I ba beth y deuwch i drefnu eich byddinoedd? Onid ydwyf fi Philistiad, a chwithau yn weision i Saul? dewiswch chwi wr i ddyfod i wared ataf fi. Os gall efe ymladd â mi, a'm lladd i, yna y byddwn ni yn weision i chwi; ond os myfi a'i gorchfygaf ef, ac a'i lladdaf ef, yna y byddwch chwi yn weision i ni."

YM. A oes neb yn ei gyfarfod, neu yn ei ateb?

HAN. Nac oes, cilio yn ol y maent.

GOLIATH. Ha, ha, ha! "Mi a waradwyddais fyddinoedd Israel y dydd hwn." Dywedais, "Moeswch ataf fi wr fel yr ymladdom yn nghyd." Ni feiddiodd yr un a honynt ateb, ac yr oedd rhai yn troi eu cefnau ataf, ac yn rhedeg; a'r oll yn cilio yn ol, ac yn ceisio ymguddio y naill yn nghysgod y llall.

YM. Wel, pa effaith a gafodd yr iaith hon ar Saul a holl Israel?

HAN. O! hwy a ddigalonasant, ac a ofnasant yn ddirfawr.

## PEN. II.

*Dafydd yn dyfod i'r gwersyll.*

Ym. A gafwyd neb i gyfarfod y cawr?

Han. Do.

Ym. Diolch, canys yn wir yr oedd fy ngwaed yn berwi dros fyddinoedd y Duw byw. Ai cadfridog, neu gadben, neu hen filwr dewr a'i cyfarfu? neu pwy a ddaeth allan?

Han. Dafydd y bugail.

Ym. Syndod! Pa fodd y bu? O! brysia, dywed pa fodd y bu. Ni bum erioed yn teimlo mor bryderus.

Han. Cymer bwyll, a gwrando drosot dy hun.

Jesse. Wel, Dafydd, fy machgen i, pa fodd y mae rhyngot ti a'r defaid? A yw y llewod a'r eirth yn peidio a'u hysglyfaethu? ac a ydynt yn cadw gartref, ac yn fyw? Gobeithio nad wyt ti yn gwirioni gyda dy delyn, ac yn eu hanghofio.

Dafydd. O, ydyw, fy nhad, y mae pob peth yn dda. Gwir fy mod yn ymddifyru gyda'm telyn; ond ni chollais i yr un o'r praidd, ac ni welais anhwyl ar yr un o honynt er's wythnosau.

Jesse. Da iawn, fy mhlentyn. Y mae arnaf eisieu i ti godi yn foreu, rhoddi gofal y defaid i geidwad, a myned droswyf i'r gwersyll i edrych am dy dri brawd. Gwyddost eu bod yn amddiffyn eu gwlad a'r eiddynt eu hunain. Y mae arnaf eisieu i ti gario epha o'r cras-yd hwn, deg torth, a deg cosyn. Dyro y pethau i dywysog y mil, "a gollwng yn rhydd eu gwystl hwynt;" canys y mae arnaf ofn eu bod wedi prynu bwyd ar y coel, ac wedi rhoddi gwystl am dano.

Dafydd. Diolch i ti, fy nhad, y mae yn dda genyf gael y neges. Yr wyf finau yn cymeryd dyddordeb yn fy mrodyr, y rhyfel, a fy mrenin. Bum yn chwareu iddo a'm telyn, ac am beth yn gludydd arfau iddo. Gelli fod yn dawel, fy nhad, y mynaf ryw un gofalus i edrych ar ol y praidd yn fy absenoldeb. Af finau i'r gwersyll, a gwnaf yr oll a ofynaist.

Ym. Brysia, O! brysia, dywed pa fodd y bu rhwng y llanc a'r cawr.

Han. Rhedodd i ganol y llu i gyfarch ei frodyr. Lled ddiystyrllyd yr edrycheut arno, a phrin yr addefent ef fel brawd; canys yr oeddynt hwy wedi eu dwyn i fyny i drin y bwäau, y cleddyfau, a'r gwaewffyn; ac yr oeddynt yn swyddogion yn myddin Saul.

DAFYDD. Pa fodd yr ydych, fy mrodyr? Gwelaf eich bod yn fyw eich tri; a ydych chwi yn iach, ac heb eich clwyfo? Fy nhad a'm gyrodd i edrych am danoch. Dygais epha o gras-yd i chwi, deg torth, a deg cosyn îr; ac y mae genyf ychydig arian i chwi hefyd. Ofnai fy nhad eich bod wedi myned i ddyled, a gwystlo rhywbeth.

## PEN. III.

*Dafydd yn cael ei ddirmygu gan ei frodyr.*

ELIAB. Dyro i mi yr arian. Dyna, gwell i ti fyned adref bellach. Cofia ni at ein tad a'n pedwar brawd.

DAFYDD. Ië, ond byddai yn dda genyf gael gwybod ychydig o hanes y rhyfel.

ELIAB. Pwy gymerai drafferth i ddweyd hanes y rhyfel wrthyt ti?

DAFYDD. (Wrth estron). Pa beth yw y dyn mawr acw sydd rhwng y ddau lu yn dyfod oddiwrth fyddin y Philistiaid?

ESTRON. A wyddost ti ddim? Dyna Goliath o Gath. Beiddia ein holl fyddinoedd ni i yru un i'w gyfarfod ef i ymladd.

DAFYDD. A oes neb wedi derbyn ei her?

ESTRON. Nac oes. Y mae wedi bod yn beiddio fel yna foreu a hwyr am 40 niwrnod.

DAFYDD. Paham y mae yr holl bobl yn rhedeg, ac yn edrych mor gyffrous?

ESTRON. Ofn y dyn mawr sydd arnynt.

DAFYDD. Dystawrwydd! Dyna efe yn dweyd rhywbeth.

GOLIATH. "I ba beth y deuwch i drefnu eich byddinoedd? Onid ydwyf fi Philistiad, a chwithau yn weision i Saul? dewiswch i chwi ŵr i ddyfod i wared ataf fi. Os gall efe ymladd â mi, a'm lladd i, yna y byddwn ni yn weision i chwi; ond os myfi a'i gorchfygaf ef, ac a'i lladdaf, yna y byddwch chwi yn weision i ni."

ESTRON. (Wrth eraill). A welsoch chwi Goliath? Yr oedd yn llefain heddyw yn uwch nag arferol. Yn wir, y mae yn ein gwaradwyddo, canys beiddia ni bellach er's dros chwech wythnos. Ac nid oes neb yn son am ei gyfarfod, er fod y brenin yn cynyg am ei ladd, a thynu y gwarth oddiarnom, y wobr fwyaf a gynygiwyd erioed, sef ei gyfoeth-

ogi â chyfoeth mawr, rhoddi ei ferch iddo, a gwneud tŷ ei dad yn rhydd yn Israel, fel na bydd ar y teulu na threth nac ardreth byth.

Dafydd. Pa beth a ddywedodd y gwr yna wneir i'r un a laddo y Philistiad, ac a dyno ymaith y gwaradwydd oddiar Israel?

Estron. Cyfoethoga y brenin ef â chyfoeth mawr, rhydd ei ferch iddo, a gwna dŷ ei dad yn rhydd yn Israel.

Dafydd. *Y mae arnaf awydd ei gynyg*, nid am y wobr, ond er mwyn anrhydedd fy nghenedl a'm Duw; canys pwy yw y Philistiad dienwaededig hwn pan waradwyddai efe fyddinoedd y Duw byw!

Eliab. Pa beth y mae y bachgen yna yn ddweyd? Pa beth wyt ti yn ddweyd, hogyn?

Dafydd. Paham yr edrychi mor ddu arnaf, fy mrawd, a phaham y cyferchi fi mor ddirmygus? Dweyd yr wyf fy mod yn teimlo cymaint dros fy nghenedl a gogoniant fy Nuw, fel y mae arnaf awydd atal ymffrost y dyn mawr yna.

Eliab Taw, yr ynfyd; tydi ymladd ag ef! Gelli gario ffon bugail, a swnio yr hen delyn sydd genyt; ond byddai yn warth i fyddinoedd Saul weled bwa, na chleddyf, na gwaewffon yn dy law. Ni byddai waeth genyf weled epa yn ceisio trin y rhai hyny na dy weled dithau. Paham y daethost i wared yma, y peth ffol; a chyda phwy y gadewaist yr ychydig ddefaid hyny yn yr anialwch?

Dafydd. Cymer bwyll, fy mrawd; yr wyf wedi gadael y defaid o dan ofal ceidwad. A'n tad ddymunodd arnaf fi ddyfod a bwyd ac arian i ti, ac i'n dau frawd eraill.

Eliab. Pwyll, yn wir! Yr wyf yn adnabod dy falchder; awydd gweled y rhyfel oedd ar y peth diffaith. Tydi fyned i ymladd a'r cawr! Pe buasai Abinadab neu Samma yn son am hyny, gallaswn eu goddef; canys y maent hwy a minau yn perthyn i'r fyddin, ac wedi bod yn trin yr arfau er's blynyddau.

Dafydd. Yn wir, fy mrawd, yr wyt yn arfer iaith rhy gas. Ni enillodd neb erioed mewn dadl wrth wneud cyfeiriadau personol a difenwi. Nid oes arnaf fi ddim awydd myned o dy flaen di a'm dau frawd. Yr ydych chwi wedi gweled y cawr ddwy waith bob dydd er's deugain niwrnod; ac y mae wedi beiddio yr holl fyddinoedd i ddangos eu dyn.

Eliab. Taw; dos i'r anialwch i fugeilio. Ni fedraf dy oddef.

Dafydd. Wel, yn wir, Eliab nid yw o ddim anrhydedd i ti ruthro i dy frawd ieuengaf fel hyn.

Eliab. A wnei di dewi?

Dafydd. Gwnaf, peidiaf ymddyddan â thi. Yr wyf eto yn gofyn i estroniaid, pa beth a wneir i'r gwr a laddo y Philistiad, ac a dyno y gwaradwydd oddiar Israel?

Estron. Y brenin a'i cyfoethoga â chyfoeth mawr; ei ferch hefyd a rydd efe iddo, a thŷ ei dad a wna efe yn rhydd yn Israel.

## PEN IV.

*Dafydd yn cael ei ddwyn at Saul.*

Dafydd. *Derbyniaf her y dyn mawr yna.* Nid wyf yn diystyru y wobr a gynygir; ond yr hyn sydd yn fy nghynhyrfu yn benaf yw, anrhydedd Israel, a gogoniant fy Nuw.

Han. Aeth y newydd hwn i glustiau pob milwr, siriolodd pob wyneb, a gofynid gan filoedd o dafodau, pwy ydyw yr un sydd yn cynyg derbyn yr her, a pha le y mae?

Estron. Ymddengys ei fod yn perthyn i'r cadfridog Eliab, a'r cadbeniaid Abinadab a Samma; ac felly y mae yn dyfod o Bethlehem Juda. Llanc ieuanc ydyw, gwridog a hardd. Deallais ar ei berthynasau mai bugail yw, ac nid oes nemawr feddwl o hono ganddynt hwy.

Ym. O, peth cyffredin yw fod milwyr yn cenfigenu wrth fugeiliaid, os bydd perygl i'r olaf gymeryd rhyw anrhydedd oddiarnynt; ond y mae yn rhy ddifrifol yn awr i neb feithrin cenfigen. Gadawer i'r llanc gynyg y cawr. Rhydd hyn beth taw ar ymffrost Goliath a'r Philistiaid. Ac os lleddir y gwr ieuanc, ni bydd yn golled i neb ond efe ei hun. Y mae yn warth ein bod fel hyn yn trefnu ein byddinoedd bob dydd er's saith wythnos, a'r oll yn rhedeg i lechu rhag un dyn pan ddaw i'r golwg. Ond a yw y llanc sydd yn cynyg ymladd o ddifrif?

Estron. O, ydyw, gwyr pawb a'i gwel, ac a'i clyw, ei fod yn meddwl gwneud yr hyn y mae yn ddweyd.

Ym. Yr wyf fi yn meddwl y byddai yn well dweyd am dano wrth y brenin; a'r teimlad cyffredin yw, mai tydi, Mr. Estron, fyddai y goreu i fyned at Saul; canys y mae y brenin yn dy adnabod ti, ac y mae ganddo ymddiried ynot.

Estron. Wel, cydsyniaf, ar lais y lluaws; ac y mae yn dda genyf gael dwyn y fath newydd i'r brenin, ar ol wyth-

nosau o bryder a digalondid. Af yn awr at y brenin i'w babell.

BRENIN. Dydd da, cadben; pa newydd sydd o'r fyddin? Mae yn debyg fod campwr y Philistiaid wedi gwneud ei ymddangosiad heddyw.

ESTRON. Do, fy arglwydd; ond y mae yna ryw lanc yn cynyg derbyn ei her.

BRENIN. Y mae hwna yn newydd rhy fawr i'w lyncu heb ei falu; pwy ydyw? un o ffyddloniaid y byddinoedd, mi feddyliwn.

ESTRON. Na, rhyw lanc ydyw a ddaeth i edrych am ei berthynasau, gan ddwyn ychydig o fwyd ac arian iddynt.

BRENIN. Gofyner iddo ddyfod yma.

ESTRON. Wele efe, fy mrenin.

BRENIN. Boed yr Arglwydd gyda thi, wr ieuanc.

DAFYDD. A chyda thithau, fy mrenin.

BRENIN. A ydwyt ti yn barod i dderbyn her campwr y Philistiaid?

DAFYDD. Ydwyf, gyda'm Duw.

BRENIN. Yn wir, y mae arnaf ofn y canlyniad; canys llanc wyt ti, ac y mae yntau yn mlodau ei ddyddiau, yn gryfach na thi bedair gwaith; yn rhyfelwr o'i febyd. Rhai ofnadwy yw y Philistiaid yna, ac efe yw eu campwr; ond yr wyf yn deall na wyddost ti ddim am na bwa, na chleddyf, na gwaewffon.

DAFYDD. Gwn, mi wn beth, fy arglwydd, am arfau rhyfel. Ond nid yn fy mwa yr ymddiriedaf. Bugail oedd dy was, holl arfau fy ngalwedigaeth ydynt ffon a thelyn. Daeth llew unwaith a chymerodd oen o'r praidd; aethum ar ei ol, ac a'i tarewais, ac a achubais yr oen. Gwnaethum yr un modd âg arth, a gwnaf yr un modd eto a'r Philistiad hwn, gan iddo anmharchu byddinoedd y Duw byw.

BRENIN. Wel, y mae yr olwg arnat yn ddigalon i bawb sydd wedi gweled y cawr; ond y mae dy iaith wedi fy synu, peri i mi agor fy llygaid, a chodi fy ngolwg yn uwch na braich o gnawd. Dos, fy mhlentyn, a'r Arglwydd fyddo gyda thi.

## PEN. V.

*Dafydd, arfau, a dillad Saul.*

BRENIN. Wel, wr ieuanc, dyma y dydd pryderus wedi

dyfod; a ydwyt ti yn dal yn benderfynol i wynebu Goliath y cawr?

DAFYDD. Ydwyf, fy mrenin.

BRENIN. Tyred gyda mi i'r arfdy, i gael dy wisgo mewn dillad milwrol. Dyma bar o'r fath oreu, a chleddyf a gwaewffon yn cyfateb. Gwisga y llurig am danat, yr helm am dy ben eto, a'r botasau am dy draed. Gwregysa dy gleddyf ar dy glun eto, a chymer y darian yma yn dy law. Dyna, ni chafodd neb erioed ei arfogi yn well. Pa fodd yr ydwyt yn teimlo?

DAFYDD. Wel, yr wyf yn teimlo yn rhyfedd ynddynt. Nid wyt yn gyfarwydd a'r fath wisgoedd. Ni fedraf na cherdded na chodi fy mreichiau; a phethau dyeithr iawn i mi yw y cleddyf a'r darian yma. Yn wir yr wyf yn meddwl fod yn well i mi gyfarfod y cawr yn fy nillad bugeilio—cymeryd fy ffon dafl yn fy llaw, a'm hysgrepan ar fy nghefn.

BRENIN. Taw, taw; paid ynfydu. Llanc bach fel tydi i gyfarfod cawr mawr fel Goliath, ac heb genyt ddim am danat ond dillad bugail; tra mae dy wrthwynebwr â helm o bres am ei ben, llurig emog am ei gorff, botasau pres am ei draed, paladr ei waewffon fel carfan gwehydd, ac un yn dwyn tarian o'i flaen! Paid ynfydu: rhaid i ti gael dy arfogi; deui i gynefino â'r dillad ac â'r arfau yn union.

DAFYDD. Y mae yn ddrwg genyf ddweyd yn groes i fy mrenin; ond yn sicr, nid allaf wneud dim yn y rhai hyn, a phan geisiwyf gerdded yr wyf yn syrthio.

BRENIN. Wel, os rhaid i ti ddiosg y rhyfelwisg, a myned mewn dillad bugail, cymer y cleddyf, y waewffon, a'r darian. Paid diystyra holl ddarpariadau rhyfel ein hoes.

DAFYDD. Os goddefa fy mrenin, diosgaf bob peth, ac ymwisgaf yn fy nillad bugeilio, a chymeraf fy ffon dafl yn fy llaw; canys pa leiaf fydd am danaf, a pha waelaf yr arfau fyddont yn fy llaw, amlycaf oll fydd llaw fy Nuw, os caf fuddugoliaeth; canys ynddo ef yr wyf fi yn ymddiried.

BRENIN. Pan siaredi am dy Dduw yr wyf fi yn gorfod tewi. Buasai yn dda genyf pe gwybyddwn fwy am dano. Os myni fyned yn dy ddillad bugeilio, a ffon yn unig yn dy law, ac os llwyddi felly, bydd yn rhaid i bawb weled dy Dduw. Ond a fedri di drin ffon dafl?

DAFYDD. Medraf, O, medraf; bum yn defnyddio hon i amddiffyn y praidd, yn taflu ceryg â hi i drwch y blewyn, ac yn lladd bleiddiaid.

BRENIN. Wel dos, wr ieuanc: rhaid i ti gael dy ffordd. Nid oes genyf fi ddim i'w ddweyd nac i'w wneud; ond, pe medrwn, gweddiwn drosot.

## PEN. VI.

### *Dafydd yn cyfarfod Goliath.*

CAWR. Ai dyma yr un sydd yn dyfod i ymladd â mi, wedi yr holl ddysgwyl? Wel, fel yr wyf yn fyw hogyn yw hwn, heb orphen tyfu! Gwir ei fod yn wridgoch a theg yr olwg. Mae yn debycach i eneth dlos nag i filwr. Trueni ei ladd; ac, yn wir, y mae yn ysmala genyf fi ddefnyddio fy arfau i ladd ei fath. Pa beth yw y ffon yna sydd genyt ti, ddyn ieuanc? Yr wyt yn ymddangos fel bugail yn myned i guro cwn. A feddyliaist ti, mewn difrif, mai ci oeddwn i? Wel, myn duwiau y Philistiaid, dyma hi! wedi bod yn eu herio am ddau fis, a hwn allasent yru i'm cyfarfod yn y diwedd!

DAFYDD. Paid rhegi, Goliath. Peth annuwiol a hyll iawn yw rhegi. Paid rhegi, da Goliath. Os wyt yn myned i ladd Dafydd, paid a'i ladd dan regi; ac os yw angeu yn dynesu atat tithau, paid, O! paid, a myned i'r farn dan regi!

CAWR. Taw, hogyn. Pan welais di gyntaf, yr oedd yr olwg arnat yn creu tosturi; ond y mae gwrando arnat yn siarad, yn ormod o dreth ar amynedd cawr. Myn einioes duwiau Philistia, cyn pen dau fynyd rhoddaf dy gnawd yn fwyd i frain ac eryrod, a cha anifeiliaid y maes grafu dy esgyrn.

DAFYDD. Ofer i mi, er dy atal i regi, yw ymresymu ar dir gwareiddiad, boneddigeiddrwydd, na chrefydd; ond y mae genyf Dduw fedr rwymo dy dafod: rhoddodd ef ei fach yn ffroenau, a'i ffrwyn yn ngweflau dy gryfach, pan ymhyfhaodd i'w gablu. Gwelaf dy fod yn dàl, llydan, a nerthol; dy gleddyf, a'th darian, a'th waewffon yn ddigyffelyb, a gwn mai yn y rhai hyn yr ymddiriedi.

CAWR. Myn Dagon, y mae yn ysmala genyf fy mod wedi gwisgo fy rhyfelwisg, a gwregysu fy arfau i dy gyfarfod di; pe buaswn heb ddim ond llodrau am danaf, ac heb arf yn fy llaw, gallaswn ymaflyd ynot ti, a'th daflu dros fy mhen, nes buasit yn disgyn yn gelain ar y ddaear.

DAFYDD. Nid ydwyt ti wedi adnabod cuddiad fy nghryfder i eto. Nid mewn cleddyf a gwaewffon yr ymddiriedaf;

ac nid yn nghysgod llurig, helm, na tharian yr ymguddiaf; ond yr wyf yn dyfod i'th gyfarfod yn enw Arglwydd y lluoedd, Duw byddinoedd Israel, yr hwn a geblaist ti. Ac y mae pob gair cableddus ddaw o'th enau yn fantais i mi, ac yn cryfhau fy ffydd; canys yr wyt felly yn digio Arglwydd y lluoedd, ac y mae efe yn lluchio cawri a brenhinoedd o'r ffordd "pan gyneuo ei lid ef, ïe, ond ychydig."

CAWR. Paham? ïe, paham y gwrandawaf ar yr hogyn yn siarad? Pa le yr oedd dy Dduw yr holl amser y bum yn herio ei fyddinoedd? Cludydd fy nharian, dos yn mlaen.

DAFYDD. Aros: cymer bwyll; paid rhuthro arnaf yn union. Y mae genyf air yn ychwaneg i'w ddweyd wrthyt. Nid oes arnaf dy ofn. Y mae fy ffydd yn cryfhau yn fy Nuw. Y dydd heddyw y mae efe yn addaw dy roi yn fy llaw fechan i, a mi a'th darawaf, ac a doraf dy ben, a cheir gweled, cyn machlud haul, ar gnawd pwy bydd y brain a'r eryrod yn ymborthi, ac esgyrn pwy fydd bwystfilod y maes yn grafu; ac nid tydi yn unig, ond y mae holl wersyll ymffrostgar y Philistiaid i gael eu chwalu a'u dinystrio gan fy Nuw i. Erbyn y boreu, bydd yna ddigon o ymborth brain a bwystfilod i'w gael ar hyd ymylau y ffordd o Elath i Ecron. Yr wyt ti a hwythau wedi cyflawni mesur eich anwiredd drwy gablu.

CAWR. Wel, yn wir, ni wrandawaf ragor ar y fath hogyn. Cludydd fy arfau, dynesa ato.

DAFYDD. Mawr yw hyd dy waewffon, Goliath; ac O! fel yr wyt yn troi dy gleddyf dysglaer o amgylch dy helm! eithr ni welodd neb arf genyf fi eto, ond y ffon yma. Am hyny byddinoedd y ddwy ochr a gânt wybod nad â chleddyf na gwaewffon y gwared yr Arglwydd; ac ar ol heddyw ca yr holl ddaear, lle y darllenir y Beibl, wybod fod Duw yn Israel. Ni ddywedaf ragor; tyred yn mlaen.

## PEN. VII.

*Dafydd yn taro y cawr.*

CAWR. Ni wrandawaf ragor ar yr hogyn: y mae fy amynedd wedi darfod, a fy ngwaed yn berwi, nes yw fy synhwyrau bron wedi dyrysu.

DAFYDD. Tydi, y cawr mawr, paham yr edrychi mor gyffrous? Ni bum i erioed yn fwy tawel. Safaf yn nghysgod fy Nuw, ac y mae fy achos yn ei law ef.

HAN. Y mae y ddau yn sefyll yn fud. Dacw y cawr yn dynesu at y llanc, a'i darianydd yn myned o'i flaen. Y mae wedi ei wisgo mewn pres tew o'i draed hyd goryn ei ben. Nid oes yna fwlch lle y gallai careg y ffon dafl gyffwrdd âg ef.

YM. Ai tybed nad yw y llanc wedi ynfydu ac yn pechu? Ni byddai waeth i un ladd ei hun na rhuthro i ddanedd angeu fel yna.

HAN. Yn wir, ni wn i ddim, ond fel yna y mae. Nid oes obaith i'r gareg a dafl gyffwrdd â chnawd y cawr, oddieithr iddi fyned i'w safn, neu i'w lygaid, neu rhwng cysylltiadau y llurig; a byddai yn bosibl i'r talcen fod yn noeth, drwy iddo beidio tynu yr helm yn ddigon isel. Y mae y cawr yn cyflymu ei gerddediad. Dacw y waewffon i fyny! O! fel y mae ei blaen hir a llym yn dysgleirio! Ond nid yw y llanc yn symud eto.

YM. Druan o hono! Y mae yn well genyf beidio ei weled yn syrthio! Gellir dweyd am dano, nid yn unig fod ei ddiwedd yn agos, ond "daeth ei ddiwedd ef."

HAN. Y mae y llanc yn awr yn nesu i gyfarfod y cawr. Edrycha yn benderfynol a difrifol hyderus. Mae y ddau yn sefyll eto. Rhydd Dafydd ei law yn nghod bugail sydd ganddo; cymer oddiyno gareg, a gesyd hi yn ei ffon, yna gollwng hi, heb gymeryd amser i anelu. Gadawa i'w Dduw wneud hyny.

YM. Pa fodd y bu? O! brysia, dywed pa fodd y bu?

HAN. Y mae y cawr yn pendroni, yn honcian fel meddwyn, ac yn syrthio ar ei wyneb.

YM. Taw; cymeryd arno y mae, efallai.

HAN. Nage, yn wir; pistyllia ei waed.

YM. Yn mha le y tarawodd y gareg ef?

HAN. Yn ei dalcen.

YM. Pa fodd yr aeth y gareg drwy yr helm?

HAN. Nid wyf yn sicr pa un ai drwy dyllau y llygaid neu drwy yr helm, neu a ddarfu y cawr ei diosg mewn dirmyg, i ddangos na buasai yn ofni y llanc Dafydd, â'i dalcen yn noeth.

YM. A yw y cawr wedi marw?

HAN. Nac yw, y mae ei aelodau yn ymwingo, a'i dafod yn ymysgwyd i regu, gan furmur bob yn ail fod Duw yn Israel, a'i fod yntau wedi cellwair âg ef.

YM. Efallai y daw ato ei hun eto.

HAN. Na ddaw; y mae y llanc wedi ei ladd, ac wedi tori ei ben.

YM. Tybiais na feddai arf ond ffon dafl, a pha fodd y gallai dori ei ben â hòno?

HAN. Torodd ef â chleddyf y cawr ei hunan, yr hwn oedd mewn gwain wrth ei glun.

CADLYWYDD PHILISTIA. Och! y mae yr hogyn yna wedi lladd ein cawr! Pa beth a wnawn? Gwell i ni ffoi.

MAESLYWYDD PHILISTIA. Na, ymwrolwn; awn yn mlaen. Gallasem fentro byddinoedd Israel. Efallai y medrwn ddial gwaed ein cawr ar yr hogyn hwn. Darfu i lawer heblaw nyni enill brwydrau er colli eu prif ddynion.

CADFRIDOG. Na, ynfydrwydd yw i ni fyned yn mlaen. Gallasem fentro byddinoedd Israel; ond eu Duw hwy yw y drwg. Ffoi oddiwrth bobl yr Arglwydd yw y peth goreu fedrwn wneud yn awr.

MAESLYWYDD. Ffoi! Nid oes dim wedi bod mor angeuol i fyddinoedd a ffoi. Wrth wneud hyn y mae pob trefn yn darfod—y cefn diamddiffyn ar y gelynion, a'r milwyr yn cael eu saethu fel petris.

CADFRIDOG. Gwir; ond pa beth a wnawn? y mae ein dewrach wedi gorfod ffoi ar ol digio Duw y bobl yna. A glywais ti mo eiriau byddin Pharaoh pan floeddient, "Ffown oddiwrth Israel, oblegid yr Arglwydd sydd yn ymladd drostynt hwy yn erbyn yr Aifftiaid?" Ffoi a wnaf fi, pa fodd bynag; ac yr wyf yn deall mai dyna y teimlad sydd drwy yr holl fyddinoedd.

MAESLYWYDD. Wel, pawb drosto ei hun, a duwiau Philistia a'n cynhorthwyo! Dywedaf eto, nid oes dim mor ofnadwy a byddin wedi ymddyrysu ac yn ffoi.

CADLYWYDD ISRAEL. Dacw y Philistiaid yn ffoi. A awn ni ar eu hol, Abner, ein tywysog?

ABNER. Awn; dilynwn hwy ar hyd ffordd Saraim, i lawr y dyffryn, ac hyd byrth Ecron. Y mae y Philistiaid yna wedi bod yn poeni Israel er's yn agos i 400 mlynedd, ond heddyw ysgubwn eu milwyr oddiar wyneb y ddaear.

YM. A laddwyd llawer o'r Philistiaid?

HAN. Do, rhoddwyd celanedd gwersyll y Philistiaid i adar y nefoedd a bwystfilod y ddaear. Llanwyd ffyrdd â'u cyrff, a lliwiwyd cornentydd â'u gwaed o Dammim hyd Ecron.

## PEN. VIII.

*Dafydd yn cael ei wobrwyo.*

BRENIN. Un rhyfedd yw y llanc yna. Dyweded fy maes-lywydd Abner, mab i bwy ydyw.

ABNER. Yr wyf yn adnabod y bachgen er's peth amser; ond nis gwn o ba deulu y mae, na mab i bwy ydyw.

BRENIN. Yr wyf finau yn adnabod y llanc. Efe a fu gyda mi yn chwareu y delyn pan oeddwn yn sal, a bum yn ei wisgo mewn dillad rhyfel pan oedd yn cychwyn i gyfarfod y cawr; ond ni ddarfu i mi ofyn o ba deulu y mae, na phwy yw ei dad; o'r hyn lleiaf, nid wyf yn cofio yn awr. Ond y mae o bwys i mi gael gwybod, canys rhan o'i wobr yw gwneud ty ei dad yn rhydd yn Israel. Myn wybod Abner, mab i bwy ydyw.

ABNER. Dygaf y llanc at y brenin. Dyma efe, fy arglwydd.

BRENIN. Mab i bwy wyt ti, wr ieuanc?

DAFYDD. Mab wyf fi, fy mrenin, i dy was Jesse y Beth-lehemiad.

BRENIN. Aros yn y palas gyda mi. Mynaf dy wobrwyo yn ol fy addewid. Cei fwyta ar fy mwrdd, chwareu â fy nhelyn, cyfeillachu â Jonathan fy etifedd, a'm merched, a bod yn y diwedd yn fab-yn-nghyfraith i mi. Byddai yn dda genyf adnabod dy Dduw. Y mae genyf barch iddo, a bydd arnaf arswyd byth ei ddigio.

YSBRYD GOLIATH.

Mewn helm, a chledd, a llurig emog braf,
A braich o gnawd o hyd ymddiried wnaf;
A'm helm o bres a'm cawraidd waewffon,
Gorchfygwn lu heb ddim ond dangos hon!

LLANC.

Wrth Dduw fy nhad dysgwyliaf fi o hyd,
Ae ato ffo'f tra byddwyf yn y byd;
Fy ffon a'm cod er hyn ddefnyddiaf fi,
A'r ceryg bach a ge's ar fin y lli.

PAWB.

Yr Ion a'i blant cyd-daro wnant bob pryd,
A beiddio un yw beiddio'r ddau yn nghyd;
Pharaoh a'i lu sydd dan eu traed yn awr,
Philistia oll a'u hen Olia' mawr.

Gwybydded pawb hyd eitha'r ddaear hon
Am y Duw hwn rydd nerth i'r egwan fron ;
Rho'wn iddo'r clod nes myned i'r wlad bell,
Ac yno cawn ei foli'n ganmil gwell.

---

## ESTHER.

### PEN. I.

*Ahasferus a'i wledd.*

AHASFERUS. (Wrtho ei hun). Myfi yw yr ymerawdwr mwyaf yn y byd! Gallaf estyn fy nheyrnwialen dros 127 o daleithiau. Y mae fy llywodraeth yn cyrhaedd o'r India hyd Ethiopia. Mi a wnaf wledd deilwng o fy mawredd, i barhau am 180 o ddyddiau ; ac anfonaf wahoddiad i holl fonedd fy nheyrnas i ddyfod iddi, fel y gwelont fy ngogoniant. Wedi hyny, rhoddaf wledd i holl deulu y palas.

HARBONA. Yr wyf fi a'm cydystafellyddion yn gweled priodoldeb amcan y brenin ; ond bydd y drafferth a'r draul yn anferth ; ac nid oes ystafell yn mrenhinllys Susan yn ddigon eang i gynwys holl dywysogion, rhaglawiaid, a chadernid Persia a Media.

AHAS. Na soniwch am y drafferth a'r draul, nid yw hyny ddim i mi. Y mae genyf ddigon o weision a morwynion, ac y mae holl gyfoeth y byd yn dylifo i fy nhrysorau. Ac yn awr, parotoer y danteithion a'r gwin brenhinol ; ac anfoner llythyrau i holl daleithiau fy nheyrnas, i wahodd i'r wledd.

HARBONA. Gwnaethpwyd yn ol gorchymyn y brenin ; ac y mae y gwahoddedigion wedi dyfod. Ni welodd Susan o'r blaen y fath dorf o raglawiaid.

AHAS. Wel, cymhellwch hwy at y byrddau ; gwnewch bob croesaw iddynt ; rhoddwch ddigon o'r gwin goreu yn eu hymyl ; ond peidiwch a'u rhwymo i yfed. Os bydd rhai yn dewis bod yn llwyrymatalwyr, gallant fod heb ddigio y brenin, er ei fod ef yn yfed gwin. Dangoswch iddynt y palas, ei gynteddau, y stablau, y meirch, y cerbydau, a fy ngerddi. Ymddifyraf finau gyda'm potelau.

HARBONA. Gwnaethpwyd fel y gorchymynaist. Cafodd pawb ddigon o fwyd a digon o edrych.

AHAS. Pa beth a ddywedant am fy mawredd ?

HARBONA. Y maent oll yn canmol helaethrwydd a phurdeb y gwin, ysplander y cwpanau aur o ba rai yr yfant; ac edmygant synwyr a thegwch y brenin yn caniatâu i bawb yr un a fynont ai yfed ai peidio. Wrth edrych ar y palas a'r dodrefn, a'r meirch a'r cerbydau, y cyntedd a'r lleni, yr ardd a'r blodau, y dref a'r gymydogaeth, yr iaith gyffredin yw, Ni a glywsom, yn ein gwlad, son am ogoniant Ahasferus; ond ni fynegwyd yr haner!

AHAS. Yr oeddwn i yn meddwl y synent hwy dipyn. Harbona, estyn gwpanaid o win. Dyna, y mae fy nghalon yn awr yn llawen, ond bod fy mhen yn drwm. Mae arnaf awydd dangos un peth yn rhagor iddynt, sef y *frenhines*. Ni welsant hi na'i chyffelyb. Y mae hi yn lân odiaeth. Ewch i ystafell wledd y frenhines, a chyrchwch hi.

## PEN. II.

### *Diarddel Fasti.*

HARBONA. (Wrth Fasti). Gyda chenad ei mawrhydi; y brenin a'n gyrodd ni yma i gyrchu y frenhines, fel y gallai ddangos ei glendid i'r holl dywysogion. Gorchymynodd iddi roddi y gwisgoedd brenhinol am dani, ymaddurno â chadwynau aur a pherlau, a rhoddi y frenhinol goron ar ei phen.

FASTI. Myfi wneud *ardddangosfa* o honof fy hun! Na wnaf byth! Byddai hyn yn groes i bob rheol a gweddeidd-dra. Rhaid fod y brenin o dan effeithiau gwin pan geisiai y fath beth. Dywedwch wrtho nas medraf ufuddhau.

HARBONA. Gyda chenad dy fawrhydi. Y mae y frenhines yn gwrthod dyfod.

AHAS. Gwrthod dyfod! Pa beth mae yn ddweyd?

HARBONA. Dywedodd lawer o bethau, fy arglwydd.

AHAS. Wel, ni chafodd neb erioed y fath ddirmyg yn mhresenoldeb doethion ei deyrnas.

HARBONA. Naddo, ein brenin; yr ydym ninau yn teimlo drosot, ac wedi digio. Nid ydym yn rhyfeddu dy weled yn cynhyrfu, a fflamau digofaint yn enyn yn dy lygaid.

AHAS. Apeliaf at saith tywysog Persia—yr ydych chwi yn deall yr amserau, ac yn gwybod cyfraith a barn,—Pa beth ddylid wneud i'r frenhines?

CARSENA. Nid ydym yn dweyd dim, O frenin.

MEMUCHAN. Wel, yr wyf fi yn dweyd fod Fasti wedi troseddu, nid yn unig yn erbyn y brenin, ond yn ein herbyn ninau y tywysogion, a'r holl bobl drwy yr holl daleithiau. Clyw arglwyddesau Persia a Media; gwna, clyw, pob gwraig drwy yr ymerodraeth, fod Fasti wedi anufuddhau i'r brenin ar y fath amgylchiad, a bydd digter mewn teuluoedd; ac ni bydd modd i'r gwyr fyw gyda'u gwragedd.

AHAS. Dyna ydyw fy marn inau.

MEMUCHAN. Yr wyf fi yn cynghori Ahasferus i wneud deddf na bydd i Fasti byth mwy gael dyfod i'w bresenoldeb, a bod iddo roddi y frenhin-fraint i ryw foneddiges deilyngach na hi.

AHAS. Da iawn, Memuchan; yr wyf fi, ac y mae yr holl dywysogion yn cydolygu â thi.

MEMUCHAN.Ië, yr oeddwn yn meddwl dweyd yn mhellach,—pan glywir drwy y deyrnas am ddeddf y brenin, a chosb Fasti, yr holl wragedd a ddychrynant, ac a roddant anrhydedd i'w gwyr, a dygir allan ddaioni o'r drwg hwn.

AHAS. Yr wyf yn selio y ddeddf.

MEMUCHAN. Wel, cyhoedder hi.

AHAS. O! y mae tair blynedd er pan seliais y ddeddf yn erbyn Fasti,—yr wyf wedi maddeu iddi. Gwraig lân a synhwyrol oedd hi. Yr oedd fy ngorchymyn am iddi ddyfod i ddangos ei hun i'r tywysogion yn afresymol; ni allaswn wneud y fath gais oni buasai fy mod o dan ddylanwad y gwin. Ymddygodd hi yn llawer callach nag yr ymddygais i. Y mae arnaf hiraeth am dani. Drwg genyf fod y ddeddf a gyhoeddwyd yn ei herbyn mor lym, a bod sel y Mediaid a'r Persiaid wedi ei rhoddi wrthi. Cyfraith y tywysog Memuchan hwnw ydoedd. Yr wyf wedi digio wrtho.

HARBONA. Dyna sydd i'w gael wrth fod yn ffyddlon.

AHAS. Dyna sydd i'w gael am wenieithio.

HARBONA.Ië, ni wnaeth y brenin yr oll oedd Memuchan yn geisio. Cynghorai ef ei fawrhydi, nid yn unig i dori pob perthynas â Fasti, ond i ddewis brenhines yn ei lle; a dywedwn ninau, Boed i'r brenin neillduo swyddogion yn mhob talaeth i bigo allan bob merch ieuanc deg, synhwyrol, a boneddigaidd, a'u hanfon i Susan y brenhinllys, o dan ofal ceidwad y gwragedd, fel y gallo y brenin ddewis brenhines o'u plith.

AHAS. Da iawn, Harbona; gwneler yn ol dy air. Ym-

ofyner am y merched glanaf, anfoner hwy i'r palas; a boed i bob un fod ddeuddeng mis yn myned drwy eu puredigaeth, ac yn dysgu moesau, o dan arolygiaeth Hegai, ceidwad y gwragedd.

## PEN. III.

### *Dewis Esther.*

MORDECAI. (Wrth Esther). Wel, fy nghyfnither, hudodd dy brydferthwch fy nghalon i pan oeddit yn blentyn amddifad. Addefaf dy fod yn myned yn decach yn fy ngolwg, ac yn anwylach gan fy nghalon flwyddyn ar ol blwyddyn. *A fynit ti gynyg dy hun i fod yn frenhines Persia?* Y mae genyt gystal siawns ag eraill, a gwell, os gwn i pa beth yw tegwch. A phwy a wyr nad ydwyt yn un o blant rhagluniaeth, a fegir ganddi i wneud pethau mawrion? Y mae rhywbeth yn peri i mi feddwl hyny er pan welais di yn faban bach, heb na thad na mam.

ESTHER. O! fy nhad, Iuddewes ydwyf fi, ac Iuddew wyt tithau. Bydd hyn yn fy erbyn; canys y mae pawb drwy y wlad, ac o amgylch y llys, a'u lach ar yr Iuddew.

MOR. Ni, er hyny, yw yr had a ddewisodd yr Arglwydd. Os yw efe drosom, pwy a all fod yn ein herbyn? Ac ni bydd achos i ti ddatguddio dy genedl, na son am dy dlodi. Yr oll a ofynir yw tegwch a synwyr. A fentri di? Os gwnei, deuaf i'th ddanfon i'r llys. Yr wyf yn gydnabyddus â Hegai, ceidwad y gwragedd.

ESTHER. Gwnaf, fy nhad. Y mae genyf finau ffydd yn rhagluniaeth. Bum yn blentyn iddi hyd yma. Efallai nad yw eto am fy ngadael, a bod ganddi rywbeth i mi i'w wneud dros ei Duw a'i bobl.

MOR. (Wrth Hegai). Gyda'ch cenad, Syr; dyma eneth amddifad dynodd fy sylw â'i thegwch a'i synwyr. Mentrais ei dwyn yma. Deallwyf fod iddi yr un siawns a genethod eraill i wisgo coron Persia, drwy enill calon y brenin.

HEGAI. Ar fy ngair, dyma y llances brydferthaf a ddaeth eto dan fy ngofal; ïe, hi yw y decaf a'r foneddigeiddiaf a welais erioed. Y mae rhywbeth yn dweyd wrthyf mai hon fydd y frenhines. Gwnaf a allwyf iddi.

MOR. Nos da, Hegai. Yr wyf yn bryderus yn nghylch yr eneth amddifad, ac yn methu peidio ymrodio o amgylch

y porth yma, ac ymwrando am ei helynt. Pa fodd y mae yn dyfod yn mlaen?

HEGAI. Campus, O! campus, mor bell ag y bu o dan fy ngofal i; ond heno y bydd y prawf arni. Os gwrandewir fy ngweddi ar dduwiau Persia, hi fydd y frenhines. Rhaid i mi ddweyd mai hi yw y llances fwyaf gostyngedig, ufudd, ac anwyl fu o dan fy ngofal erioed; a gwnes inau fy ngoreu iddi. Y gwir yw, yr oedd pawb a'i gwelai yn ei hoffi. Y mae y llancesau a fuont gyda'r brenin wedi myned i dy arall y gwragedd, ac ni chlywais ei fod yn galw yr un o honynt yn ol. Prawf hyny nad oes neb wedi enill ei galon eto.

MOR. Bore da, Hegai. Pa fodd y daeth yr eneth amddifad yn mlaen neithiwr?

HEGAI. Ardderchog! Nid yw hona yn amddifad. Medr wneud tad o bawb. Ac y mae ganddi ryw Dduw yn dad, a rhagluniaeth yn forwyn; clywais hi lawer gwaith yn son am y rhai hyny, ac y mae pawb yn rhieni iddi, a hithau yn blentyn i bawb. Deallais ar y *Maid of Honour* a'i cymerodd i bresenoldeb y brenin fod un edrychiad arni yn ddigon i ddwyn ei galon; ac erbyn heddyw, y mae Ahasferus *wedi rhoddi y deyrngoron ar ei phen!*

AHAS. Gwrandawed holl ddeiliaid fy llywodraeth. Y mae y duwiau wedi rhoddi i mi Esther yn wraig yn lle Fasti. Bydd gwledd ar yr achlysur mor fuan ag y gallaf anfon at holl ddeiliaid fy llywodraeth. Gelwir hi, *Gwledd Esther*. Yr wyf yn gwahodd iddi fy holl dywysogion, a'm rhaglawiaid, a'm gweision. Rhoddaf ar y pryd i'm holl weinidogion anrhegion teilwng o honof fy hun ac o'r frenhines. Maddeuaf bob dyled, a chyhoeddaf bob caeth yn rhydd drwy holl daleithiau fy llywodraeth; ïe, cyhoeddaf jubili gyffredinol o India hyd Ethiopia; a dysgwyliaf i filfil o dafodau lefain y misoedd hyny, *Byw fyddo y frenhines Esther.*

## PEN IV.

### *Bradwyr yn y llys.*

ESTHER. Peth mawr, O! frenin, yw cael teyrnasu fel hyn yn nghalonau y myrddiynau; ond yr wyf yn clywed fod bradwyr yn y llys. Y mae dau o ystafellyddion y brenin, hen gyfeillion Fasti, yn penderfynu estyn llaw yn erbyn y brenin, a'i lofruddio!

Ahas. Pwy ydynt, fy anwylyd ?

Esther. Bigthan a Therez, fy arglwydd.

Ahas. Yr oeddwn yn meddwl fod rhyw ddrwg ar y ddau lanc er pan y seliwyd y ddeddf yn erbyn Fasti. Ond pwy a ddatguddiodd y frâd i'r frenhines Esther ?

Esther. Un o wylwyr y pyrth, o'r enw Mordecai. Ond cynghorwn y brenin i wneud ymchwiliad i'r peth cyn symud. Bydd Mordecai yn barod i ddwyn tystiolaeth o'r hyn a welodd ac a glywodd efe.

Ahas. Fy anwyl Esther, y mae y llanciau wedi eu chwilio, a'u cael yn euog, ac wedi eu dienyddio. Yr oedd tystiolaethau Mordecai, ac eraill, yn eu herbyn, mor eglur â'r haul, ac mor ddiysgog â chreigiau. Yr oedd cynlluniau y llanciau bron yn addfed ; a mwy na thebyg, pe na chawsent eu datguddio, y buaswn yn ddyn marw. Yr wyf yn ddyledus am fy mywyd i'm hanwyl Esther, a'm swyddog Mordecai ; a thybiwyf fy mod yn gweled cyfryngiad y duwiau yn hyn.

Esther. Y Duw a wnaeth y ser wyf fi yn addoli ; a'i fys ef a welaf fi yn hyn. Y mae yn dda genyf i'r frâd gael ei datguddio ; canys pe llofruddiasid y brenin, pa beth a ddaethai o honof fi, ac o'r deyrnas ?

Ahas. Ond byddaf fi yn cadw dyddlyfr, ac yn rhoddi pethau hynod i lawr ; a dyma un o waredigaethau rhyfeddaf fy oes. Pa le y mae fy ysgrifenydd ? Dyro i lawr yr hyn a gymerodd le, y flwyddyn, a'r dydd. Rhodder i lawr enwau Bigthan a Therez, y bradwyr ; ac enw Mordecai yr hwn a ddatguddiodd y frâd. Rhoddaf finau fy enw yn dyst.

Esther. Ië, O ! frenin ! bydd yn effeithiol ac addysgiadol darllen hyn eto ; ac efallai y gwna fy Nuw i ryw ddefnydd o honynt. Pwy wyr nad rhan o'i gynllun ef yw ysgrifenu yn y dyddlyfr ? Ac er fy mod i yn awr yn frenhines y byd, o'r Ganges hyd y Nilus, nid wyf am wadu rhagluniaeth, fy hen fam.

Ahas. Ni wn i ddim am y Duw wnaeth y ser, y sonia fy Esther am dano ; na'r rhagluniaeth, yr hon, mi dybiwyf, yw llaw-forwyn y Duw hwnw. Ond y mae perffaith ryddid i ni addoli y duwiau a ddewisom.

Esther. Diolch i ti, O ! frenin ! Fel hyn, efallai, yr enilli di fi i addoli dy dduwiau di ; neu, efallai, yr enillaf fi di i addoli y Duw a wnaeth y ser.

## PEN. V.

### *Ahasferus yn dewis prifweinidog.*

AHAS. Fy anrhydeddusaf Haman, yr wyf wedi teyrnasu ddeuddeng mlynedd ar 127 o daleithiau. Mae beichiau y llywodraeth mor drymion fel yr wyf yn blino eu dwyn; ac y mae arnaf awydd dewis prifweinidog, a rhoddi rhan o'r gofal iddo ef; cawn felly lonydd i ymddifyru gyda'm gorderchadon a'm gwin; ac yr wyf wedi bod yn meddwl am danat ti, fy nhywysog Haman.

HAMAN. Hy—hum—felly—na—ïe.

AHAS. A allai Haman feddwl am un o'r tywysogion eraill i'w gymeradwyo i'm sylw?

HAMAN. O! na allaf fi yn sicr; ac, a dweyd y gwir, nid wyf fi yn gweled cymhwysder yn yr un o honynt; pe buasai hwn a hwn yn fyw, gallasai efe wneud rhywbeth.

AHAS. Gelli di wneud, anrhydeddusaf Haman. Y mae y gwaed brenhinol yn dy wythienau, o hen deulu rhyfelgar Agag. Yr wyt mor gyfoethog a minau; a digon o blwc ynot, yr hyn sydd o bwys mewn sefyllfa fel hon.

HAMAN. Ydyw, y mae y pethau hyn yn perthyn i mi, ac yr wyf yn gwybod peth am deyrnasu; a chan fod fy mrenin a'i lygaid arnaf, gwnaf fy ngoreu. Ni hoffwn wrthod rhag i mi ddigio y duwiau.

AHAS. Dyna ddigon; nid oes eisieu rhagor. Dyma fy modrwy i ti—y fodrwy ag y mae sel y llywodraeth ynddi, a gelli di ei rhoddi wrth y peth a fynech; yr wyf yn gosod dy orsedd goruwch y tywysogion oll, ac yn agosaf atat fi; cofia, yn fy ymyl i, yr ochr agosaf at fy nghalon, y bydd dy le wrth y bwrdd, ac yn y llys.

HAMAN. Diolch i'w fawrhydi y brenin; yr wyf yn derbyn y fodrwy, y sel, yr awdurdod, a'r dyrchafiad.

AHAS. Galwer fy holl weision a'm morwynion yn nghyd; y mae arnaf eisieu rhoddi siars iddynt.

HARBONA. Ein grasusaf frenin, dyma ni.

AHAS. Wel, fy ngwasanaethwyr, yr wyf wedi gwneud y tywysog Haman yn brifweinidog. Rhaid i chwi ymgrymu iddo, fel y gwnewch i mi. Rhaid i chwi orwedd ar eich wynebau pan y bydd efe yn myned heibio. Mewn gair, rhaid i chwi ei *addoli;* canys y mae y Persiaid yn ystyried eu llywodraethwyr yn dduwiau, ac yn eu haddoli.

Harbona. Yr ydym yn addaw ufuddhau, O! frenin.

Ahas. Gochelwch esgeuluso, rhag dwyn arnoch fy ngwg i.

Harbona. Dyma Haman yn myned heibio yn ei frenhinol wisgoedd, a'r fodrwy a'r sel ar ei law. Ymgrymwn, lanciau; gorweddwn ar y ddaear.

## PEN. VI.

*Mordecai yn gomedd ymgrymu.*

Biztha. Ni orweddodd Mordecai.

Harbona. Paham na buasit ti, Mordecai, yn gorwedd ar dy wyneb pan oedd y pentywysog Haman yn myned heibio? Rhaid i ti ei addoli gystal a ninau.

Mordecai. Na, ni addolaf fi mo hono byth. Nid yw crefydd yr Iuddew yn goddef iddo addoli neb ond y Duw a wnaeth y ser; ac nid yw hyd yn nod brenhinoedd Persia yn rhwymo yr Iuddewon i'w haddoli. Ni byddai waeth genym ni ymgrymu i ddelw o aur nag ymgrymu i Haman.

Harbona. Dyma efe yn dyfod heibio eto. Ar ein hwynebau, lanciau.

Biztha. Ni ymostyngodd Mordecai eto.

Harbona. Yn sicr, rhaid iddo wneud; onide, parwn i'w ystyfnigrwydd gostio yn ddrud iddo. Dyma y tywysog Haman yn dyfod heibio eto. A addoli di mo hyno, Mordecai?

Mordecai. Na wnaf; ac yr wyf wedi dweyd fy rheswm.

Harbona. Wel, achwynwn wrth Haman; canys nid oes achos i ti mwy na ninau gael peidio gorwedd ar dy wyneb pan fydd efe yn myned heibio.

Mordecai. Achwynwch chwi, ni phlygaf fi.

Harbona. Yr anrhydeddusaf dywysog Haman, a ganiateir i mi ddweyd gair wrthyt?

Haman. Llefara, Harbona.

Harbona. O feistr! gorchymynodd y brenin i'w holl wasanaethwyr, pan y byddai y prifweinidog yn myned heibio, ymgrymu iddo a'i addoli. Yr ydym oll yn ufuddhau gyda hyfrydwch ond un, ac Iuddew yw hwnw.

Haman. Pa beth yw ei enw?

Harbona. Mordecai, fy arglwydd.

Haman. Yr oeddwn wedi drwgdybio y dyn, ac nid wyf yn hoffi ei genedl; ond sylwaf yn fanylach wrth ddod trwy y porth y tro nesaf.

HARBONA. Dyma y prifweinidog yn dyfod; addolwn, lanciau.

HAMAN. (Wrtho ei hun). Naddo, ni ymgrymodd Mordecai i mi, er fod pawb eraill ar eu hwynebau. Y mae hyn yn annyoddefol. Yr wyf yn teimlo fy ngwaed yn berwi. Iuddew ydyw efe hefyd. Byddai yn gosb rhy fychan ei roddi ef ei hun i farwolaeth; ond mynaf roddi pob Iuddew i farwolaeth drwy gant a saith ar hugain o daleithiau—mynaf, myn einioes Ahasferus. Bwrw goelbren, Harbona, fel y gwypwyf pa ddiwrnod fydd y mwyaf ffodus i ddyfetha yr Iuddewon.

HARBONA. Gwnaf, fy arglwydd.

HAMAN. Pa beth ddywed y goelbren?

HARBONA. Dengys mai yr amser goreu i ladd yr Iuddewon fydd y trydydd dydd yn mis Adar.

HAMAN. A ganiata Ahasferus i Haman gael siarad gair a'i fawrhydi?

AHAS. Deued fy anrhydeddus brifweinidog i'r palas. Cymerwn ychydig win gyda'n gilydd.

HAMAN. Gyda chenad dy fawrhydi, yr oeddwn am alw sylw at y bobl yna ydynt yn wasgaredig drwy'r holl daleithiau. Y maent yn wahanol eu crefydd a'u cyfreithiau i eraill: a fy nghred yw na ddylid eu dyoddef. Dymunwn i'r brenin roddi awdurdod i'w dyfetha; ac os bydd eu lladd yn golled i gyllid y llywodraeth, gwnaf fi hyny i fyny drwy dalu deng mil o dalentau arian. Nid yw hyny ddim genyf fi, canys gwyr y brenin fod fy nhad, Hammedatha yr Agagiad, yn gyfoethog iawn.

AHAS. Fy ardderchocaf brifweinidog, y mae dy arian i ti, ac y mae y bobl wasgaredig i ti i wneud â hwy fel y byddo da yn dy olwg. Cymeraf wydraid yn rhagor o win, a boed i Haman yfed gyda mi.

HAMAN. Ond pa fodd y geiriwn y *warrant?*

AHAS. Boed i Haman ei geirio fel y dewiso.

HAMAN. Yr oeddwn i yn meddwl fel hyn:—*Gorchymyn oddiwrth Ahasferus, y brenin mawr, at bendefigion, duciaid, a thywysogion yr holl daleithiau, am iddynt ddyfetha a lladd yr holl Iuddewon, yn ieuainc a hen, yn blant ac yn wragedd, mewn un dydd, sef y trydydd o'r deuddegfed mis.* Enwaf y dydd hwnw am fod y duwiau wedi ei nodi i mi drwy goelbren fel adeg ffodus i wneud y gorchwyl.

## PEN. VII.

*Gofid yr Iuddewon.*

Ahas. Pob peth yn iawn; y mae genyf bob ymddiried yn noethineb fy mhrifweinidog. Boed iddo wneud fel y dywedodd.

Haman. Ond rhaid cael ysgrifenyddion i gyfieithu a chopïo y *warrant* i ieithoedd y gwahanol daleithiau; a rhaid eu selio â sel y brenin, ac yna eu hanfon gyda'r rhedegwyr at bendefigion, duciaid, a thywysogion pob talaeth, fel y gallont roddi y ddedfryd mewn gweithrediad.

Ahas. Y mae at dy wasanaeth yr ysgrifenwyr, y modrwyau, y selau, y rhedegwyr, y meirch, a'r oll sydd o fewn fy llywodraeth. Os yw pob peth yn barod cychwyned y rhedegwyr, a boed iddynt frysio; eisteddwn ninau i yfed ychydig yn rhagor o win.

Bigthan. Fy arglwydd Haman, bum yn rhoddi tro trwy'r heolydd, a deallwyf fod gair yn y ddinas, ac yn mhob talaeth, fod yr holl Iuddewon i gael eu lladd ar y trydydd dydd o'r deuddegfed mis. Edrycha pawb yn athrist. Y mae yr Iuddewon yn ymprydio, yn wylofain, yn oernadu, ac yn gorwedd ar y ddaear mewn sachlian a lludw. Gwelais Mordecai; yr oedd yntau wedi ymwisgo mewn llian sach, ac yn gwaeddi â chwerw lef uchel; a daeth a safodd o flaen porth y brenin.

Haman. Yr oeddwn i yn meddwl y buaswn yn dwyn y gwr hwnw ato ei hun, ac mi ddysgaf fi iddo blygu.

Esther. Fy llancesau a'm hystafellyddion, y mae rhyw sibrwd yn eich plith; a welwch chwi yn dda ddweyd pa beth yw y mater?

Llances. Gyda chenad ei mawrhydi, nid ydym yn gwybod yn sicr; ond y mae rhyw gyfyngder ar yr Iuddewon, canys deallwn eu bod yn mhob man yn ymprydio, yn wylofain, oernadu, ac yn gorwedd mewn sachlian a lludw.

Esther. Gorchymyner i Hathach, ystafellydd y brenin, ddyfod yma.

Hathach. Gyda chenad y frenhines, wele fi.

Esther. Hathach, fy ngwas, dos at Mordecai, a myn wybod pa beth yw achos gofid yr Iuddewon. A ddaethost ti yn ol, fy ngwas?

Hathach. Do, fy mrenhines.

## PEN. VIII.

### *Ofn ac addewid Esther.*

ESTHER. Pa beth sydd ar yr Iuddewon?

HATHACH. Dywedodd Mordecai fod gorchymyn wedi myned i ladd pob Iuddew yn y deyrnas ar y trydydd dydd o fis Adar. Y mae Haman wedi cynyg talu dwy filiwn o bunau o'i logell ei hun am wneud hyny. Anfonwyd gwarant i'r pwrpas at bendefigion, duciaid, a thywysogion pob talaeth; dyma gopi—y mae wedi ei selio â sel Ahasferus; ac y mae Mordecai yn dymuno ar y frenhines fyned at y brenin i erfyn ar ran ei phobl.

ESTHER. Y mae Mordecai yn afresymol, canys y mae pob gweinidog yn y palas yn deall fod yn berygl bywyd i bawb fyned at y brenin, ond y rhai y bydd efe wedi estyn atynt y deyrnwialen aur; ac ni'm galwodd i fewn er's deng niwrnod ar hugain. Ni bum mor hir heb ei weled er pan wyf yn y palas. Awgryma hyny ei fod wedi digio wrthyf am rywbeth. Y mae cais Mordecai yr un peth a phe gofynasid i mi fyned i gael fy llofruddio. Dos, Hathach, a dywed hyn wrtho.

MORDECAI. Brysia yn ol eto, Hathach, a dywed hyn wrth y frenhines, Os lleddir yr holl Iuddewon, na feddwl y diengi dithau yn nhŷ y brenin; ac os tewi wnei di y pryd hwn, ymwared a gyfyd i'r Iuddewon o fan arall; tithau a thŷ dy dad a gollwch yr anrhydedd. A phwy sydd yn gwybod nad erbyn y fath amser â hwn y daethost i'r frenhiniaeth? Y mae dy ddyfodiad i'r frenhiniaeth yn rhyfedd; ac y mae y *warrant* i ladd yr holl Iuddewon yn un o'r pethau rhyfeddaf a fu yn Persia erioed. Ac y mae rhywbeth yn peri i mi feddwl fod ein Duw ni yn trefnu y naill beth rhyfedd ar gyfer y llall.

ESTHER. Dychweled Hathach gyda brys, ac atebed Mordecai fel hyn, Y mae dy resymau wedi argyhoeddi Esther y dylai wneud rhywbeth. Dos, casgl yr holl Iuddewon a geir yn ninas Susan, ymprydiwch a gweddiwch drosof fi; na fwytewch, ac na yfwch dros dridiau; minau a'm llancesau a ymprydiwn ac a weddiwn. Felly, mentraf at y brenin, yr hyn beth nad yw gyfreithlawn; ac o derfydd am danaf, darfydded. Yr wyf yn foddlon mentro i angeu yn nghanol gweddiau duwiolion, a chyda'm Duw ar lwybrau dyledswydd.

MORDECAI.

Esther, gwel y waedlyd *warrant*, Och! fy nghalon sydd mewn braw,
Esther, Esther, y mae bywyd myrdd myrddiynau yn dy law;
Dos, ac erfyn dros dy bobl, at y brenin dos yn hy',
Medr Duw yr Iuddew wylio camrau Esther oddifry.

ESTHER.

Aur deyrnwialen ni estynwyd er's wythnosau ataf fi,
Ac heb hyny, gwerth fy mywyd fyddai ufuddhau i ti;
Y mae nerthol eiriau'th gyngor o fy ol o hyd o hyd,
Am fy ngwthio i hyll wyneb brenin dychryniadau byd.

MORDECAI.

Esther anwyl, ni ddiengi, os ein difa oll a wneir,
Ond o rywle, mi obeithiaf, gwaredigaeth i ni geir;
Tithau ddygi warth i'th deulu, yn lle enw uchel fri,
Pwy a wyr nad erbyn heddyw i'r frenhiniaeth daethost ti?

ESTHER.

Wel, fy mrawd, gwna di ymprydio, a gweddio ar fy rhan,
A dysgwyliaf i'r Iuddewon wneuthur hyny yn mhob man;
Minau a'm llancesau hefyd a gydunwn oll yn nghyd,
Felly, mentraf, mi a fentraf, os rhaid marw ar y pryd.

OLL.

Aur deyrnwialen Brenin nefoedd ddelir yn ei law o hyd,
Croeso sydd i bawb ddod ato, tra bo'nt yma yn y byd;
Ond, ryw ddydd, bydd yn ei newid am y wialen haiarn gref,
Myn deyrnasu, myn deyrnasu, rhaid, rhaid plygu iddo ef.

## PEN. IX.

### *Esther yn myned at y brenin.*

HATHACH. Gyda chenad y frenhines; mae yr ympryd a'r gweddio drosodd; ac yr wyf yn sicr na bu erioed fwy o onestrwydd a thaerineb gyda'r gwaith. A rhyfedd iawn, y dydd heddyw y mae y brenin yn cynal gwyl gyfarchiadol yn ei frenhindy! A deallwyf y bydd yn y brif ystafell ar ei deyrngadair, ar gyfer y drws sydd yn agor ar y cyntedd. Bydd y deyrnwialen aur yn ei law; ac y mae cyfle i'r frenhines Esther ddyfod i'w bresenoldeb, a gwneud ei moesgyfarchiadau.

ESTHER. Gwelaf rywbeth tebyg i ragluniaeth yn hyn. Rhedwch, fy morwynion; cyrchwch fy mrenhinwisg, a'm perlau. Gwisgwch am danaf, a beiddiaf weddio am i rag-

luniaeth fy Nhad nefol eich cyfarwyddo i roddi pob perlyn a philyn yn ei le.

LLANCES. Dyna, yr ydym wedi boddloni ein hunain wrth wisgo ein brenhines heddyw. "Gemwaith aur yw ei gwisg hi." "Arogl myrr, aloes, a chasia sydd ar ei holl wisgoedd" pan ä allan o'r palasau ifori, a'r llancesau yn myned ar ei hol. Ein cred yw nas gall y brenin beidio "chwenych ei thegwch."

ESTHER. Anturiaf at y brenin; gwnaf, anturiaf, er fod fy nghalon yn curo, a'm cnawd yn crynu. Dilynwch fi, fy morwynion; y mae caniatâd i dair o honoch wneud hyn: gobeithio y gweddïa eraill droswyf. Mentraf i'r cyntedd nesaf i mewn; anturiaf, gwnaf, myfi a anturiaf, pe bawn yn llesmeirio. Dyma fi yn myned i gyntedd y brenhindy. O! fy Nhad nefol, dysga fi.

LLANCES. Dacw y brenin! Y mae tri o bendefigion Persia ar ei aswy, ac yn ei ddeheulaw y mae y deyrnwialen aur. Gwna y frenhines ei moesgyfarchiad iddo; edrych y brenin arni, gwelwa hithau ger ei fron, a syrthia i freichiau ei morwynion.

AHAS. Yr wyf yn estyn at y frenhines Esther y deyrnwialen aur; ac, yn wir, y mae y wialen fel pe byddai yn symud ati o honi ei hun, neu y mae fy nghalon yn ei gwthio ati heb yn wybod i fy llaw.

ESTHER. Gyda chenad dy fawrhydi, yr wyf yn cyffwrdd â phen y deyrnwialen aur.

AHAS. Deued y frenhines Esther yn nes. Fy anwylyd, gwn ar dy olwg dy fod yn bryderus, a thybiwn y dymunit gael rhywbeth gan y brenin. Arllwys dy galon ger fy mron, a gad i mi glywed yr hyn a ddymunit; ac hyd haner fy mrenhiniaeth mi a roddaf i ti pa beth bynag a ofyni, canys y mae anwyldeb dy ymddangosiad wedi fy llwyr orchfygu.

## PEN. X.

### *Gwledd yn nhy Esther.*

ESTHER. O, frenin! Nid wyf yn gofyn rhan o'r frenhiniaeth, nac yn gofyn aur ac arian: y mae genyf ddigon o bethau felly; ond yr wyf wedi darparu gwledd heno yn fy mhalasdy fy hun, a'm taer ostyngedig ddymuniad yw, am i'r brenin a Haman ddyfod i hòno. Efallai y bydd genyf rywbeth yn mhellach i'w ofyn ar ol hyny.

Ahas. Gorchymyner i Haman wneud yn ol dymuniad Esther. Deuwn ar yr awr benodedig, ac y mae yn anrhydedd genym gael ein gwahodd. Fy ngweision, a yw y cerbydau yn barod? Gyrer gyda brys at balas Esther.

Esther. Y mae yn anrhydedd genyf gael rhoddi derbyniad i'r brenin a'i brifweinidog. Boed iddynt rodio yn mlaen, a throi i ystafell y wledd. Eistedded a bwytaed y brenin a'i brifweinidog. Gobeithio eu bod yn mwynhau eu hunain wrth fwrdd Esther.

Ahas. Ydym, fy anwylyd; y mae y darpariadau yn rhagorol; ac y mae cael y fath ddanteithion ar fwrdd y frenhines yn eu dwbl felysu.

Esther. Gyda chenad ei fawrhydi, symudwn yn awr i ystafell cyfeddach y gwin. Y mae genyf ddigon o win— gloyw-win, ïe, gloyw-win puredig, wedi bod oesau mewn costrelau; yfwch, ïe, yfed y brenin a'i brifweinidog yn helaeth.

Ahas. Y frenhines Esther, y mae y gwin yn rhagorol, a theimlaf ei effeithiau yn llawenhau fy nghalon; a fy anwylyd, dywed pa beth wyt yn ei ofyn, a sicrhaf, pa beth bynag ydyw, hyd haner fy mrenhiniaeth, mi a'i rhoddaf i ti.

Esther. O chefais ffafr yn ngolwg y brenin, ac os rhynga bodd iddo roddi fy nymuniad, a gwneuthur fy neisyfiad, boed iddo ——, boed iddo ar——, boed iddo arbed ——, boed iddo alw yn ol ——. Esgusoded y brenin fi, nis medraf fyned yn mhellach. Gwnaf wledd eto yfory. Yr wyf yn gwahodd y brenin a Haman i hòno; ac os bydd ei fawrhydi mor ostyngedig a chydsynio a'm cais, arllwysaf iddo fy nghalon y pryd hyny.

Ahas. Buasai yn dda genyf gael allan ddymuniad fy anwylyd heddyw. Efallai y gallaswn roddi iddi ryw esmwythâd, canys gwelaf ei bod mewn pryder mawr. Ond bydd yn anrhydedd genyf fi a'm prifweinidog ddyfod yma eto yfory. Gwn fod gan y frenhines fodd i'n croesawu, canys y mae holl frasder Persia wrth ei llaw, a holl feibion a merched y deyrnas at ei gwasanaeth. Nos da, fy anwylyd.

Haman. Nos da, fy mrenhines.

Esther. Nos da, fy mrenin, a'r anrhydeddus Haman.

## PEN. XI.

*Haman yn myned adref.*

Hathach. Fy nghydweision, gwrandewch; dyna Haman yn myned adref o wledd y frenhines; ymddangosai yn llawen

ei galon, ond fod ei ben yn rhy drwm i'w gorff; a phan ai heibio y brenhindy, eisteddai Mordecai yn y porth, eithr ni chyfododd ac ni syflodd iddo. Y mae hwnw yn ddyn penderfynol, os nad rhyfygus. Ni chymer ei fywyd yn gyfnewid am ei egwyddorion. Yr oedd Haman yn ddigon sobr i deimlo dirmyg peidio ymgrymu iddo gan un o'r porthorion. Gwelais ef yn cochi, ac yn ysgyrnygu ei ddannedd; gwyddwn fod digllonedd a dialedd yn argraffedig ar wythienau ei dalcen.

HAMAN. Dyma fi gartref; diolch fod genyf balas mor ysplenydd, ac ystafelloedd mor ardderchog i ddyfod iddynt. Galwer ar fy ngharedigion a Zeres fy ngwraig i ddyfod ataf; y mae genyf lawer o bethau i'w dweyd wrthynt.

ZERES. Fy anwyl Haman, y mae wedi myned yn hwyr; ofnwyf i ti fod ormod yn nghwmni y gwin: y mae rhywbeth wedi effeithio ar dy lygaid.

HAMAN. Ha, ha, ha! Nid oes y fath wr boneddig a fi yn y wlad! Yr wyf yn fab i Hammedatha yr Agagiad! Yr oedd cyfoeth fy nhad yn ddiderfyn. Nid yw arian ac aur yn ddim i mi; y maent genyf fel ceryg. Y mae genyf hefyd lonaid fy nhy o blant. Ac heblaw hyny, y mae y brenin wedi fy nyrchafu uwchlaw ei dywysogion penaf, ac wedi fy ngwneud yn brifweinidog; a mwy na'r cwbl, ni wahoddodd y frenhines Esther neb ond y brenin a minau i'r wledd a wnaethai hi heddyw; ac y mae yn gwneud gwledd eto yfory, ac wedi gwahodd y brenin a minau i hòno, a ni yn unig. Ha, ha, ha. Ond y mae un peth yn fy mlino.

ZERES. Pa beth yw hwnw, fy anwylyd?

HAMAN. Yn wir, y mae.

ZERES. Pa beth, fy mhriod? Dywed pa beth.

HAMAN. Wel, Mordecai yr Iuddew yna—nid yw byth yn ymgrymu i mi; na, ni chymer drafferth i godi pan fyddaf yn myned heibio. Y mae y gweision eraill yn gweled hyn, a'r boneddigion fydd gyda mi yn sylwi fy mod yn cael fy anmharchu. Yn wir, y mae hyn yn rhy ddrwg; chwerwa fy holl gysuron; gwna i mi deimlo yn dlawd yn nghanol fy nghyfoeth, ac yn ddirmygedig yn nghanol fy anrhydedd. Och! och! och! pa beth a wnaf?

V sydd genyf ddeg o feibion,
Pwy fel y V?
Aur, a thai, a thiroedd breision, pwy, &c.

V yw prifweinidog Persia,
V a'r brenin fu'n cydfwyta,
V a V yw pobpeth yma!
Pwy ond y V?

V a'i fawredd eto fory,
Pwy ond y ni
Gydwahoddwyd i'r brenhindy? pwy, &c.;
Eto'r Iuddew brwnt dig'wilydd
A wrthoda blygu beunydd,
Hyn a sura fy llawenydd,
Och! Och! i V.

ZERES. Y mae hyn yn rhy ddrwg hefyd; yr hen Iuddew balch ystyfnig ydyw. Yr wyf finau yn teimlo fy ngwaed yn berwi gan fy nigllonedd tuag ato. Y mae dy garedigion a minau yn barnu y byddai yn well i ti heno barotoi crogbren, a myned at y brenin yn fore yfory, a gofyn am *warrant* i grogi Mordecai. Yr ydym hefyd yn cynghori am i'r crogbren fod yn 50 cyfudd o uchder. Bydd ysgerbwd y peth penstiff felly wedi ei godi yn uwch na'r tai uwchaf yn y dref; a bydd hyny yn fanteisiol i bawb ei weled, cymeryd rhybudd, ac ymostwng i ti. Ar ol gwneud hyn, gelli fyned i'r wledd yn llawen.

HAMAN. Da iawn; mi a barotoaf y crogbren yn ol eich gair. Ond rhaid myned i orphwys heno; credwyf fod y brenin yn ei wely er's oriau.

## PEN. XII.

### *Y brenin yn methu cysgu na deffro.*

AHAS. Och! yr wyf yn methu cysgu. Pan yn effro byddaf yn meddwl am wyleidd-dra, prydferthwch, a boneddigeiddrwydd Esther. Yr wyf yn bryderus am gael gwybod ei dymuniad; ni chysgwn i yn fy myw. O! "pa bryd y codaf, ac yr ymedy y nos?" Pa le y mae fy nghofiadur? Hoffwn iddo ddyfod yma i ddarllen. Gwelais hyny weithiau yn ymlid cwsg yn ddigon pell, a phryd arall yn ei wahodd yn mlaen; ac ni waeth genyf pa un. Ond y mae yn annyoddefol fel hyn—methu cysgu, methu deffro. Pan gysgwyf, yr wyf yn deffro; a phan ddeffrowyf, yr wyf yn cysgu, ac yn annedwydd freuddwydio. Y mae arnaf awydd i fy nghofiadur ddarllen rhywbeth i mi fel y gallwyf naill ai cau ai agor fy llygaid.

COFIADUR. Gyda chenad y brenin, pa lyfr a ddarllenaf?

AHAS. Yr wyf yn bur hoff o glywd *Llyfr hanesion yr amseroedd.* Cynwys hwnw grynodeb o'r pethau rhyfeddaf a gymerasant le er's canoedd o flynyddau mewn cysylltiad â theyrnasiad brenhinoedd Persia.

COFIADUR. Gyda chenad y brenin, pa gyfrol a ddarllenaf?

AHAS. Nid yw o bwys genyf; estyned fy nghofiadur ei law at ryw gyfrol.

COFIADUR. Wel, daeth i'm llaw y gyfrol sydd yn cynwys hanesion y dygwyddiadau rhyfeddaf yn nheyrnasiad y brenin Ahasferus ei hun; ond, pa ran a gaf ddarllen?

AHAS. Gadawer i'r gyfrol agor yn y man a fyno; bydd y duwiau yn cyfarwyddo felly; a phwy a wyr na wna Duw Esther ymostwng i'm cyfarwyddo?

COFIADUR. Y mae y gyfrol wedi ymagor ar yr hanes hwn:—Yn y flwyddyn o oed y byd 3580, darfu i Bigthan a Therez, dau o ystafellyddion y brenin, a hen gyfeillion Fasti, benderfynu estyn eu dwylaw yn erbyn y brenin Ahasferus, a'i lofruddio; cafodd Mordecai wybod am y frâd, datguddiodd hi i'r frenhines Esther, a dywedodd hithau wrth y brenin. Chwiliwyd i'r peth; cymerwyd y llanciau i fyny; holwyd y tystion; cafwyd hwy yn euog, a chrogwyd hwy.

AHAS. Yr wyf yn cofio am y tro, ond pa beth a dalwyd, a pha anrhydedd a wnaed i Mordecai am hyn?

COFIADUR. Ni wnaed dim iddo.

AHAS. Gwneud dim iddo! yr un wobr i'r gwr fu yn foddion i gadw bywyd brenin Persia! Deallwyf wrth lyfr hanesion yr amseroedd fod eraill wedi cael eu gwobrwyo am orchwylion llai pwysig. Ac os wyf yn cofio yn iawn, gorchymynais ysgrifenu gweithred Mordecai mewn cronicl, ei wobrwyo a'i ddyrchafu; ac yr ydych yn dweyd na wnaed dim iddo!

COFIADUR. Naddo, medd gweision y palas.

AHAS. Pwy a rwystrodd ei wobrwyo a'i anrhydeddu?

COFIADUR. Y mae y rhai sydd yn gwybod yn gomedd dweyd.

AHAS. Gomedd dweyd! Rhaid i mi gael gwybod.

COFIADUR. Y tywysog Haman roddodd yr awgrymiad i Ganghellydd y Trysorlys.

AHAS. Wel, aeth y nos heibio tra buom yn chwilio y mater yma. Mae y wawr yn tori; ydyw, y mae'n ddydd goleu.

Cofiadur. Gyda chenad ei fawrhydi, dywed y gweision fod Haman yn y cyntedd agosaf allan, a'i fod yn dymuno am gael gweled y brenin.

Ahas. Gwahodder Haman i fewn, ac arosed nes i mi gael amser i ymddyddan âg ef.

## PEN. XIII.

### *Anrhydeddu Mordecai.*

Ahas. Maddeued Haman am i mi ei gadw morhir i ddysgwyl.

Haman. Sicr iawn, O! ardderchog frenin. Nid yw tri mis i mi aros i gyfrif fy mysedd ddim cymaint ag a fuasai un awr i'w fawrhydi.

Ahas. Gallwn hebgor yn awr foesgyfarchiadau Haman. Y mae un o weision y palas wedi gwneud cymwynasau pwysig i mi, ac nid wyf yn meddwl ei fod wedi cael ei gydnabod yn ol ei deilyngdod. Da genyf gael ymgynghori ar y mater. Ac yn awr, yr wyf yn gofyn beth a wneir i'r gwr y mae y brenin yn ewyllysio ei anrhydeddu? Cymered Haman hamdden i ystyried, ac yna bydded i mi gael ei atebiad.

Haman. (Wrtho ei hun). Nid gelyn i mi, tybed, mae y brenin yn ewyllysio ei anrhydeddu? Nid oes neb a wnaeth fwy o wasanaeth i'r brenin na myfi. I bwy, gan hyny, yr ewyllysiai wneuthur anrhydedd yn fwy na myfi? Am hyny, mentraf ddweyd wrtho yr anrhydedd uchaf a ddymunai fy nghalon.

Ahas. A yw fy mhrifweinidog yn barod i roddi cyfarwyddyd am y peth goreu i'w wneud i'r gwr y mae y brenin yn ewyllysio ei anrhydeddu?

Haman. Ydwyf, fy mrenin.

Ahas. Llefared Haman yn hyf.

Haman. Rhodder y wisg frenhinol am dano, y cap brenhinol am ei ben, a dewisol farch y brenin iddo farchogaeth arno.

Ahas. Ardderchog! Bum inau yn meddwl am beth cyffelyb. Tybia pawb a'i gwelant felly mai brenin ydyw; canys y mae y pethau yna yn arwyddion o anrhydedd na faidd neb eu cymeryd ond y brenin a'r rhai y mae efe am eu rhoddi iddynt.

Haman. A boed i un o dywysogion ardderchocaf y

brenin arwain y march drwy heol y ddinas, ac aed udganwyr yn mlaen i lefain, "Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae y brenin yn chwenych ei anrhydeddu."

AHAS. Ardderchog eto! *Dos, gwna di felly i Mordecai yr Iuddew.* I hwnw yr wyf yn ddyledus am fy mywyd. A chan mai tydi yw un o'r tywysogion penaf, cei di yr anrhydedd o arwain y march.

HAMAN. Pa beth! Mordecai i gael ei anrhydeddu! Mordecai yr Iuddew, un o weision y porth! Mordecai yr Iuddew a'r wisg frenhinol am dano, y cap brenhinol am ei ben, ac yn marchogaeth march y brenin! a myfi, Haman, yn arwain y march felly drwy yr heol! Na wnaf byth!

AHAS. Paham y mae Haman yn ymdroi? Gwna fel y lleferais.

HAMAN. Pa beth a wnaf? Os ufuddhaf, ni fedraf godi fy mhen; ac os anufuddhaf, cymer y brenin fy mhen oddiarnaf; a gwell i mi gael fy mhen yn rhyw lun.

HATHACH. Wel, y mae Haman mewn profedigaeth chwerw rhwng ei falchder ac ofn y brenin! Ond gwn mai ufuddhau a wna, er mwyn cadw ei ben; canys llwfrddyn yw efe, a phob gorthrymydd pan ddaw yn wasgfa. Dacw efe yn dwyn y fantell addurnedig frenhinol, ac yn ei rhoddi am Mordecai; a'r cap perlog brenhinol am ei ben! Dacw efe yn cyfrwyo dewisol farch y brenin, ac yn dal yr wrthafl i Mordecai fyned ar ei gefn, ac yn ei arwain drwy heol y ddinas, a'r holl bobl yn llefain, "Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae y brenin yn *mynu* ei anrhydeddu." Ië, yn *mynu* ei anrhydeddu.

ZERES. O! fy anwyl briod Haman, pa beth yw yr olwg yna sydd arnat ti?

HAMAN. Golwg! ni bu erioed y fath beth. Gofynodd Ahasferus i mi, "Beth wneir i'r gwr y mae y brenin yn ewyllysio ei anrhydeddu?" Tybiais inau mai myfi oedd hwnw; a dywedais, Rhodder y frenhinol wisg am dano, a'r goron ar ei ben; rhodder ef ar un o'r meirch brenhinol, ac arweinier ef drwy heol y ddinas gan un o'r tywysogion brenhinol, a llefed udganwyr o'i flaen, "Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae y brenin yn chwenych ei anrhydeddu." A dywedodd y brenin, "*Gwna di felly â Mordecai yr Iuddew!*"

ZERES. Wnaethost ti, Haman?

HAMAN. Do.

ZERES. Ac ti a fuost yn arwain Mordecai yr Iuddew drwy heol y ddinas, yn ngwydd yr holl bobl!

HAMAN. Do, yn wir! A gorfu i mi lefain fy hunan, "Fel hyn y gwneir i'r gwr y mae y brenin yn mynu ei anrhydeddu!"

ZERES. Wel, nid ä hyn byth oddiar dy ben di, na minau, na'r plant; a gwaeth na'r cwbl, gan dy fod wedi dechreu syrthio o flaen Mordecai, ac yntau yn un o had yr Iuddewon, yn îs îs bydd raid i ti fyned; dyna yw fy ofn i, a dyna yw barn y doethion sydd gyda mi. Ond dyna rywun wrth y drws; gwahodder ef i mewn.

## PEN. XIV.

### *Diwedd Haman.*

HARBONA. Gyda chenad fy arglwyddes; yr wyf fi a'm cydystafellyddion yn dyfod yma i gyrchu Haman i wledd y frenhines. Y mae dymuniad ar iddo ddyfod ar frys; canys y mae y brenin hefyd wedi ei wahodd.

ESTHER. O! frenin, bydd fyw yn hir. Diolch i'th fawrhydi, ac i'th brifweinidog, am fy anrhydeddu a'ch presenoldeb eto heddyw.

AHAS. Y mae y gwin yn rhagorol, ac yn llawenhau ein calonau. Ond, fy anwyl Esther, yn y wledd y dydd o'r blaen, dymunaist am gael peidio arllwys dy galon i'r brenin; ond addewaist wneuthur heddyw. Yn awr, dywed pa beth yw dy ddymuniad, ac fe'i rhoddir i ti, hyd haner fy nheyrnas.

ESTHER. Fy arglwydd frenin, y mae fy nghalon yn llesmeirio wrth feddwl am ddweyd.

AHAS. Ymwroia, fy anwylyd, a dywed.

ESTHER. Wel, yr wyf fi—yr wyf fi, a'm pobl yr Iuddewon, wedi ein gwerthu; a phe gwerthasid ni i fod yn gaethweision ac yn gaethforwynion, mi a dawswn a son; ond—ond, yr ydys wedi ein gwerthu i'n *lladd a'n dyfetha!* A'm dymuniad yw, os rhynga bodd i'r brenin, am roddi i mi fy einioes, ac einioes fy mhobl.

AHAS. Y mae y frenhines wedi fy synu! Esther a'i phobl wedi eu gwerthu i'w lladd a'u dyfetha! Pwy a glywai ar ei galon werthu Esther a'i phobl felly? Pwy yw y gwr? a pha le y mae?

ESTHER. Y mae efe yn eistedd yn agos at y brenin, ac ni feiddiaf ymatal yn hwy heb ei enwi. *Ein gelyn yw yr Haman yna.*

AHAS. Yr wyf yn gynhyrfus; pa beth a wnaf? Ni

fedraf edrych ar y dyn. Mi a godaf, ac a af i'r ardd i ystyried pa ddedfryd a gyhoeddaf arno. Yr oeddwn wedi ei ddrwgdybio! Dyna fe wedi cadw y wobr a ddylasai gael ei rhoddi i Mordecai, am iddo fod yn offeryn i gadw fy mywyd i; a dyma fe yn awr wedi cynllunio i ladd Esther a'i phobl! Y mae marw yn gosb rhy ysgafn arno.

HAMAN. O! drugarog frenhines! Gwelaf ar wedd y brenin ei bod wedi darfod am danaf; nid oes genyf ddim gobaith os na rydd y frenhines ei dylanwad o'm plaid. O! na fydded iddi wrthod hyn! Ond dyma y brenin yn dyfod i mewn.

AHAS. Pa beth! a yw yr anghenfil am gymeryd hyfdra ar y frenhines pan yn y ty! Tyner y cap du dros ei wyneb mewn eiliad: y mae dedfryd marwolaeth wedi ei chyhoeddi arno yn mynwes y brenin; ac ni fynaf weled ei wyneb mwy. Ond pa fodd y rhoddir ef i farwolaeth?

HARBONA. Pan oeddwn i yn myned allan i wahodd Haman i wledd y frenhines, mi welais wrth ei dy ef grogbren mawr wedi ei godi, yn 50 cyfudd.

AHAS. Wel, i ba beth yr amcanwyd y crogbren hwnw?

HARBONA. Amcanwyd ef, fy mrenin, i grogi arno Mordecai, yr hwn a lefarodd ddaioni am dy fawrhydi, ac a fu yn gysgod i'th fywyd.

AHAS. Croger Haman ar hwnw; ïe, cymerer ef allan oddiyma, a chroger ef yn union.

*Araeth Haman ar y crogbren:—*

Ces godiad hyd ymyl y sedd, a'm llanw â chyfoeth a bri,
Er hyny yn uwch mynwn fod—gwag ydoedd fy nghalon falch i;
Mi dynais o'i wain fy hir gledd i ladd yr Iuddewon i gyd,
Ond rywfodd fe redodd fy mys i lygaid eu Duw yr un pryd.

Dymunais y goron a'r wisg, a marchog mewn rhwysg drwy y dre,
A'r miloedd yn bloeddio o'm blaen, *Anwylyd y brenin yw e'*;
Ond Iuddew a wisgwyd mewn rhwysg, bum inau yn tywys ei farch,
A llefais wrth gerdded yn mlaen, i hwn myn y brenin roi parch.

Gwnes grogbren yn ymyl fy nhy yn uwch na phinaclau y dre,
Gan dybio cawn ddangos ar hwn fy ngelyn, a hoff-ddyn y ne;
Ond heddyw, myfi sydd yn ddrych i bobl y ddinas i gyd,
Dymunwn i'm diwedd gael bod yn wers i holl feilchion y byd.

# JOB.

## PEN. I.

*Yr ymgom rhwng yr Ysbryd mawr a Satan.*

YSBRYD. Wel, Satan, a ddaethost ti yma? Un lled digywilydd wyt ti hefyd; nid oes llawer er pan godaist wrthryfel yn y nef, ac y gorfu i mi dy alltudio di a'th gwmni oddiyno, a'ch rhwymo mewn "cadwynau tragwyddol, dan dywyllwch hyd farn y dydd mawr;" ac mi welaf yr hen gadwynau am dy draed a'th ddwylaw heddyw; ac yr oedd genyt hyfdra mawr i ddyfod i fy mhresenoldeb i, ac i ganol fy meibion fel yna! Pa le y buost ti?

SATAN. Bum yn tramwy ar hyd y ddaear, ac yn ymrodio ynddi.

YSBRYD. A gefaist ti lawer o ysglyfaeth y tro yma?

SATAN. Do; ni raid i mi gwyno ar y ddaear.

YSBRYD. Do, y mae yn debyg; canys yr hen lew rhuadwy wyt ti, yn "rhodio oddiamgylch gan geisio y neb a elli lyncu." Ond pa fodd yr oeddit yn eu dal? Ai rhuthro arnynt y byddit, neu eu hudo i'th ffau?

SATAN. Yr oeddwn yn medru rhuthro ar fy ysglyfaeth a'u dal yn fy nghrafangau pan fyddent yn cysgu. Eithr hudo i'm ffauau oedd fy ffordd gyffredin. Gwelais yn un man eneth lân hardd mewn sidanau; hudais hòno i ffau aflendid. Gwelais mewn man arall lanc sychedig cyfeillgar; hudais hwnw i ffau meddwdod. Gwelais mewn man arall benteulu hoff o'r byd; hudais hwnw i ffau cybydd-dod. Gwelais mewn man arall un a rhyw grefydd oer ganddo. a deliais hwnw ar dir gwrthgiliad. Wedi cael yr ysglyfaeth naill ai i'm ffau neu ar fy nhiroedd, yr oeddwn yn gwneud o'r goreu â hwy.

YSBRYD. A fuost ti heibio i Us, yn y dwyrain?

SATAN. Do; yn y gymydogaeth hòno y bum.

YSBRYD. A welais ti yno foneddwr a elwir Job?

SATAN. Wrth edrych ar hwnw y collais i fy holl amser.

YSBRYD. Dyna i ti foneddwr! Y mae yn wr perffaith ac uniawn, yn fy ofni i, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni. Nid oes ei fath ar y ddaear. Ni fedri di hudo hwna i'th ffau, ac ni feddi fach na rhwyd i'w ddal.

SATAN. Do, gwelais hwna, ond methais fyned ato; ac nid

oes modd. Yr wyt ti wedi adeiladu tri o furiau uchel llydain y naill am y llall ac o'i amgylch. Y mae un oddeutu ei berson, y llall oddeutu ei dŷ, a'r trydydd oddeutu ei diroedd a'r oll a fedd. Bum inau oddeutu yr olaf lawer gwaith, yn ymofyn am adwy, a methais a'i chael. A phe yr aethwn drwy y mur hwnw, yr oedd yno ddau wedy'n fel muriau Jericho; ac yr wyt yn taflu digon o bob peth iddo, —"ei ddâ a gynhyddodd"—fel nad oes arnc angen dyfod yr ochr yma yn agos ataf fi. Pe byddit yn chwalu y muriau hyn, ac yn gadael i mi fyned ato, gwnawn iddo dy felldithio o flaen dy wyneb. Gwelais eraill yn dduwioldeb i gyd yn nyddiau eu llwyddiant; ond wedi i ragluniaeth wgu, mi a'u clywais yn melldithio eu Duw.

YSBRYD. Addefaf fod hyna yn gywir am ambell un, ond y mae Job yn eithriad.

SATAN. Nac ydyw ef, onide gad i mi gael ei brofi. Chwala un o'r muriau, fel y gallwyt fyned heibio ei anifeiliaid, ac at dai ei blant.

## PEN. II.

### *Y prawf cyntaf.*

YSBRYD. Am unwaith goddefaf i ti. Chwalaf ar dy ddymuniad fur amddiffyn ei eiddo; a dyna y Sabeaid yspeilgar a'r Caldeaid rhyfelgar at dy wasanaeth—dy weision di ydynt o ran hyny. A goddefaf i ti y waith hon gael y mellt a'r gwynt at dy wasanaeth.

SATAN. Diolch i ti, Arglwydd. Yr wyf yn lled sicr o honi hi bellach. Nid wyf yn meddwl y bydd arnaf eisieu i ti chwalu dim ond y mur mawr sydd oddeutu ei diroedd a thai ei blant, er i ti gael clywed melldithio na bu ei gyffelyb. De'wch yma y Sabeaid; *raiders* yn iawn ydych chwi. Dacw holl ychain Job yn aredig ar y maes, a'i bum cant asynod yn pori gerllaw iddynt; ewch drwy y bwlch yna sydd yn y mur, rhuthrwch ar y llanciau sydd yn dal yr erydr, lleddwch hwy oll, a dygwch yr ychain a'r asynod bob un. Dacw y camelod, dair mil o honynt, yn pori y ddol fawr ar lan yr Euphrates, ar dueddau Caldea; aed tair byddin o filwyr Caldeaidd i ladd y ceidwaid, a dwyn y camelod. Chwithau y mellt, fy ngweision newyddion, disgynwch ar y parciau ac ochrau y llethrau, lle mae y saith mil defaid yn pori, yswch hwy oll, a'r bugeiliaid gyda hwy. Y mae holl feibion

a merched Job heno yn cynal dawns-wledd yn nhŷ eu brawd hynaf; dos dithau, wynt mawr yr anialwch, a tharawa bedair congl y tŷ, nes bydd yn disgyn yn garnedd ar eu penau, ac yn eu lladd oll. Brysiwch, gwnewch fy eirchion bob llythyren.

GWAS. Gyda chenad "tywysog llywodraeth yr awyr," y mae ei holl eirchion wedi eu cyflawni.

SATAN. A ydyw Job yn gwybod pa beth sydd wedi cymeryd lle?

GWAS. Yr oedd cenhadon yn parotoi i fyned i ddweyd wrtho.

SATAN. Heddyw y bydd efe yn eistedd ar y fainc farnol —yr ynadon, y dadleuwyr, a'r cyfreithwyr oddeutu; af finau yno i'w glywed yn melldithio.

CENAD. Fy arglwydd Job! O! y mae yspeilwyr Sabeaidd wedi rhuthro ar yr ychain oeddynt yn aredig ar y maes mawr, a'r asynod oeddynt yn pori yn y cae arall, ac wedi eu dwyn, a lladd y llanciau oeddynt yn dal yr erydr oll ond myfi.

JOB. Dyna newydd trwm! Ond peth ydoedd allesid ddysgwyl oddiwrth lwythau yspeilgar fel y Sabeaid.

CENAD ARALL. Och! yr wyf yn methu dweyd gan wylo! Y mae tair byddin o'r Caldeaid wedi rhuthro ar y camelod, a dwyn y tair mil, ac wedi lladd y llanciau oeddynt yn edrych ar eu hol bob un ond myfi.

JOB. Colled fwy eto! ond peth felly allesid ddysgwyl oddiwrth y Caldeaid rhyfelgar: ar yspail y maent hwy yn byw.

CENAD ARALL. O! yr wyf fi wedi dychrynu ac yn crynu! Y mae mellt mawrion wedi disgyn o'r nefoedd, ac wedi ysu y saith mil defaid, a'r bugeiliaid oll ond myfi.

JOB. Dyna golled drymach eto! a chan mai y *mellt* a'u lladdodd, rhaid fod rhywbeth a fynai Duw â hyn; canys efe sydd yn "gwneud ffordd i fellt y taranau."

CENAD ARALL. O, fy arglwydd, Job! nid——, nid allaf fi ddim dweyd!

JOB. Na, dywed; yr wyf yn barod i dderbyn.

CENAD. Wel, yr oedd——, yr oedd dy feibion a dy ferched oll mewn *ball* yn nhŷ eu brawd hynaf, a daeth gwynt mawr oddiar yr anialwch, ac a darawodd ar bedair congl y tŷ, nes aeth i lawr yn garnedd, a lladd dy blant oll!

JOB. Dyna y newydd caletaf eto! a chan mai y gwynt

ddarfu, y mae rhywbeth a fyno Duw â hyn hefyd; canys o'i drysorau ef y mae y gwynt yn dyfod, ac y mae efe yn medru ei ddal yn ei ddyrnau.

MOSES. Dacw Job yn cyfodi oddiar y fainc farnol, ac yn rhwygo ei fantell borphoraidd. Y mae ei wyneb yn gwelwi, a'i holl gorff yn crynu. Tyn ei wallt, a dacw efe ar ei liniau, ïe, ar ei wyneb; nid yw yn dweyd dim. Melldithio yn ddystaw y mae, medd Satan. Na, addoli yn ddystaw y mae, medd rhai sydd yn ei adnabod yn well. Dacw efe yn codi! Y mae yn agor ei enau, Duw yn gostwng ei glust i wrando, a Satan yn dal ei anadl.

JOB. "Noeth y daethum o groth fy mam, a noeth y dychwelaf."

SATAN. Nid oes dim neillduol yn hyna.

JOB. "Yr Arglwydd a roddodd, yr Arglwydd a gymerodd ymaith,"——

(SATAN. Dyna hi yn gweithio; yr Arglwydd sydd yn ei chael hi. Nid yw yn bwrw y bai ar y Sabeaid, y Caldeaid, y mellt, y gwynt, na minau; ac yn awr am y melldithio!)

JOB. "BENDIGEDIG FYDDO ENW YR ARGLWYDD!"

SATAN. Dyna fi wedi fy siomi! Ni chefais y fath ergyd er y dydd y syrthiais. Gadawer i mi fyned allan; af i ymguddio i'm ffau.

## PEN. III.

### *Yr ail gynyg.*

YSBRYD. Wel, Satan, a fentrais ti ddyfod i blith fy meibion, a cher fy mron eto? Prin y dysgwyliaswn i ti ddangos dy wyneb mor fuan yn y fath le wedi i ti gael dy faeddu gan Job. O ba le y daethost ti yn awr?

SATAN. Bum eto yn tramwy ar hyd y ddaear, ac yn ymrodio ynddi.

YSBRYD. A gefaist ti ysglyfaeth y tro hwn?

SATAN. Nid cymaint; yr oeddwn o hyd yn myfyrio ar Job, ac wedi fy narn-syfrdanu gan yr ergyd a roddasai i mi. Aethum heibio ei gartref y waith hon eto, a gwelwn fod dau fur llydain ac uchel o'i amgylch eto, sef yr un sydd oddeutu ei berson, a'r un sydd oddeutu ei dŷ; a phe cawn y rhai hyn wedi eu chwalu, a myned i'w balas, ac at ei wely, a rhoddi fy llaw yn ei law, fy ngwyneb ar ei wyneb, ac anadlu i'w ffroenau, gwnawn iddo dy felldithio o flaen dy wyneb.

YSBRYD. Gan ein bod wedi myned i ddadl mor boeth yn

ei gylch, chwalaf y ddau fur yna eto. Dyna efe yn dy law di; yn unig paid a'i ladd.

SATAN. A oddefi di i mi gael gwasanaeth un o'r clefydau?

YSBRYD. Goddefaf hyny hefyd. Cei dy ddewis.

SATAN. (Wrtho ei hun). Pa glefyd a ddewisaf? Clefyd cas yw y *gwahanglwyf*, ond nid yw hwnw yn ddigon poenus. Lladd mewn byr amser y mae yr *haint*, ni thâl hyny ddim. *Cornwydydd blin* a ddewisaf. Y mae y rhai hyny yn poeni heb ladd, ac yn gwneuthur i un ffieiddio ei einioes. Y cornwydydd, ewch a tharewch Job; peidiwch gadael modfedd o'i gorff, o wadn ei droed, hyd goryn ei ben, heb un o honoch yn sefyll arno, a gwnaed pob un ei oreu i'w boeni. Deuaf finau i wrando pa beth a ddywed. Dacw efe ar y domen! Ni welais olwg mor druenus ar ddyn erioed. Y mae ei wraig yn nesu ato: pa beth a ddywed hi, tybed?

Y WRAIG. Yn enw pob peth, Job, a wyt ti eto yn parhau yn dy berffeithrwydd? "Melldithia Dduw, a bydd farw."

SATAN. Dyna hi yn fy ochr i; a rhwng ei chyngor hi a'r cornwydydd, nid oes modd na lwyddaf. Dystawrwydd! gwrandawed nef a daear, a gwrandawaf finau.

JOB. Ha! fy ngwraig, yr wyf yn synu atat. Gwyddost am yr holl ddaioni a dderbyniasom o law yr Arglwydd drwy y blynyddau; ac a gymerwn ni y cysuron, a gwrthod y ceryddon, pan efallai mai yr olaf yw y goreu er ein lles?

SATAN. Dyna fi eto wedi fy maeddu; rhaid i mi addef mai yn hyn i gyd ni phechodd Job. Yr wyf fi mewn ysbryd melldithio, ac mi wnaf wrth ddychwelyd i'm ffau.

## PEN. IV.

*Job yn melldithio.*

ELIPHAZ. Ai dacw y boneddwr a'n prif-ynad Job? Ni buaswn i byth yn ei adnabod! A fuasit ti, Bildad?

BILDAD. Na fuaswn i.

ELIPHAZ. A fuasit ti, Sophar?

SOPHAR. Na buaswn i yn wir byth. Paham yr wyt ti yn wylo, Eliphaz?

ELIPHAZ. Paham yr wyt tithau yn wylo? Gwelaf dy ddagrau: ni waeth i ti heb geisio eu celu. Y mae Bildad

hefyd yn wylo. Pa bosibl peidio? Ni welais i erioed y fath beth.

GARDDWR. Y mae y tri yn "dyrchafu eu llef i wylo," yn "rhwygo eu mantelli," ac yn "taenu llwch ar eu penau,"—eisteddant gyda fy meistr yn y lludw. Yr wyf wedi sylwi arnynt yn dyfod yma fel hyn am "saith niwrnod," ac nid oes yr un o honynt wedi dweyd gair wrth y claf eto! Gwyddant ei fod yn rhy boenus i wrando arnynt, rhagor eu hateb. Y maent fel y gwelwyd plant o amgylch gwelyau—yn fudion pan oedd y meddygon wedi rhoddi eu tad i fyny i farw—dim cymorth gan neb i'w roddi iddo, a dysgwyliad bob moment am ei ochenaid ddiweddaf. Ond er syndod i bawb, y mae fy hen feistr eto yn fyw, ac yn hybu!

ELIPHAZ. Dyma ni yma eto yn edrych am danat ti, Job. Gwyddost i Bildad, Sophar, a minau fod yma o'r blaen yn dy wylio am saith diwrnod. Yr oeddit yn rhy boenus i ni ofyn pa fodd yr oeddit. Yr oedd yr olwg arnat yn medru llefaru yn well na geiriau; ond yn awr gwelwn dy fod yn gwella, a byddai yn dda genym gael gair o'th brofiad. A ydwyt ti yn dal i ddweyd, "*Bendigedig fyddo enw yr Arglwydd?*"

JOB. Na, yr wyf yn hynod hiraethlon, poenus, ac isel fy meddwl—"Melldigedig fyddo y dydd y'm ganwyd." Dymunwn i'r dydd hwnw fod yn felldigedig drwy oesau y ddaear—"Na chydier ef â dyddiau y flwyddyn, ac na ddeued i rifedi y misoedd." Safed arno ei hun, a noder ef yn holl ddyddiaduron y ddaear fel y diwrnod melldigedig yn yr hwn y ganwyd Job. Dymunwn fod diffyg ar yr haul wrth godi, a chwmwl ar y lleuad a phob seren y cynddydd hwnw. Hynoder y dydd byth gan fellt, taranau, tywyllwch, a thymhestloedd, nes byddo dyn ac anifail yn dychrynu rhagddo.

ELIPHAZ. Taw a melldithio, Job; yr oeddym yn cydymdeimlo â thi yn dy boen, ond yr ydym yn digio wrthyt am felldithio. Y mae Duw wedi bod yn ymffrostio ynot, ac yn dy alw yn "wr perffaith"—yn dweyd nad oedd dy "fath ar y ddaear," ac yn dadleu â'r diafol yn dy gylch.

JOB. Tewi, yn wir! Melldigedig fyddo y bronau roddodd i mi sugn, a'r gliniau a'm cynhaliasant y dydd y'm ganwyd. Paham na adawsent i mi y pryd hyny ddisgyn i'r ddaear? Ni buaswn haner diwrnod felly yn myned o fy mhoen—yna cawswn fod fel "erthyl cuddiedig," neu "blant bychain heb weled goleuni."

Bildad. A ydwyt ti ddim yn credu fod eneidiau gan fabanod, Job ?

Job. Nid wyf fi yn meddwl fawr am hyny, na dim arall ; ac yr wyf yn sicr nad oes neb fedrai feddwl llawer am fyd arall yn y boen yr wyf fi ynddo. Nid am y nef yr wyf yn hiraethu, ond am y *bedd;* canys yr wyf yn sicr y cawn lonydd yno. Bod fel " erthyl cuddiedig," yw fy nymuniad. Byddai hyny yn nef felus i mi i'w chymharu â phoen presenol fy nghorff a'm meddwl.

Sophar. Taw, Job ; bydd Satan yn sicr o dy glywed. Yr oedd yn dweyd mai fel hyn y byddit ti, a bydd yn danod eto i Dduw mai efe oedd yn iawn.

Job. Tewi, yn wir ! Hawdd y gelli di siarad. Y mae fy nheulu i yn felltigedig. Yr wyf yn cofio pan nad oedd neb yn fy mhalas, hyd yn nod fy mhlant, yn beiddio dweyd gair yn fy erbyn ; ond yn awr, " Geiwais ar fy ngwasanaethwr, ac ni'm hatebodd," a'm " morwynion sydd yn fy nghyfrif yn ddyeithr." Yr wyf yn cofio yr amser pan oedd fy holl gymydogion yn fy adnabod, ac yn ymffrostio eu bod yn perthyn i mi; ond yn awr, " y rhai sydd o'm cydnabod a'm hanghofiasant." Bum yn " llygaid i'r dall," yn " draed i'r cloff," ac yn " dad i'r anghenog." Gwnes i " galon y weddw dlawd lawenychu"—amddiffynais hi pan ddaeth ataf, a'r " cwyn ni wyddwn a chwiliwn allan." Do, " drylliais gilddanedd yr anghyfiawn, ac a dynais ei ysglyfaeth allan o'i ddanedd ef." Ond erbyn heddyw, y mae y rhai y gwnaethum fel hyn iddynt, wedi fy anghofio ! Melldigedig fyddo y wên a wnaethant arnaf yn " nyddiau fy ieuenctyd, pan dywalltai y graig i mi afonydd o olew."

Eliphaz. Taw, Job ; yn wir yr wyt yn colli dy le.

Job. Myfi dewi ! Nis medraf. Yr wyf yn cofio yr amser pan awn drwy y dref—byddai llanciau drygionus yn fy ngweled, " ac ymguddient;" a phan awn i'r llys, " henuriaid a gyfodent ac a safent i fyny ; tywysogion a osodent eu llaw ar eu genau, a phendefigion a dawent a son ; " ond bum trwy y dref ddoe, ac nid oedd neb yn tynu ei het i mi. Cefais fy ngwatwar gan hogiau y " diystyraswn eu tadau i'w gosod gyda chwn fy nefaid." Rhyw farbariaid oedd eu henafiaid, heb wisgoedd am danynt ; rhuent yn mhlith y perthi, ymgasglent o dan ddanadl, ac yr oeddynt yn ymborthi ar " hocys a gwraidd meryw." Byddent weithiau yn dyfod at fy nhŷ i a thai eraill i yspeilio, a byddai yr holl

gymydogion yn gwaeddi lladron ar eu hol. Ond ddoe, myfi oedd cân plant y rhai hyny! Ac yn wir, darfu aml un o honynt "boeri yn fy wyneb." A gaf fi ddim dweyd, melldigedig fyddo pethau fel hyn!

ELIPHAZ. Taw, Job; rhaid dy fod wedi colli dy le cyn y buasai dy Dduw yn goddef peth fel hyn—rhagrith oedd dy broffes o "ofni Duw a chilio oddiwrth bob drygioni;" "canys pa le y tòrwyd y rhai uniawn ymaith? hyd y gwelais i, y rhai a arddant anwiredd, ac a hauant ddrygioni, a'u medant."

JOB. "Hyd y gwelaist ti, yn wir!" Y mae rhai a welodd fwy na thi yn sicrhau mai yr "un peth a ddamwain i'r cyfiawn a'r annuwiol, i'r da ac i'r glân." Byddaf fi yn aml feddwl am roddi terfyn ar fy einioes. Byddai yn well genyf ymdagu na dyoddef llawer rhagor o bethau fel hyn. "Ffieiddiais fy einioes; ni fynwn fyw; am hyny y dewisai fy enaid ymdagu." Byddai yn well genyf "farwolaeth na'm hoedl." "O! na ddeuai fy nymuniad, sef rhyngu bodd i Dduw fy nryllio, a'm tori ymaith."

ELIPHAZ. Wel, nid yw Duw yn gwneud cam â thi.

JOB. Ydyw; "y mae efe yn troi yn greulon yn fy erbyn, ac yn fy ngwrthwynebu â nerth ei law." Nid wyf yn deall y gallasai fod yn llawer casach wrthyf nag y mae. Y mae efe wedi "fy ngosod *yn nod*"—anela ataf, ac nid yw byth yn methu ei ergyd; canys "y mae saethau yr Hollalluog ynof, a'u gwenwyn yn yfed fy ysbryd." Y mae peth aneirif o'i saethau yn fy nghalon—yno y cyfeirir hwynt. Nid yw chwaith yn tynu y gyntaf allan pan yn gollwng yr ail. Ac yr wyf yn sicr nad wyf waeth nag eraill na chawsant brofedigaethau erioed; "canys gwreiddyn y mater a gaed ynof." Gwyr Duw "nad wyf annuwiol;" er hyny, y mae yn "ymaflyd yn fy ngwddf, ac yn fy nryllio yn chwilfriw; y mae efe yn rhedeg arnaf fel cawr, ac yn fy rhwygo â rhwygiad ar rwygiad."

ELIPHAZ. Job, taw; yn wir yr wyf yn dychrynu wrth wrando arnat ti. Ni ddywed neb am danat mwy, "Ni phechodd Job, ac ni roddodd ddim yn ynfyd yn erbyn Duw."

JOB. Wel, dyna fy mhrofiad i; a phe medrwn gael gafael ar Dduw, "trefnwn fy mater ger ei fron, a llanwn fy ngenau â rhesymau. Mynwn wybod â pha eiriau y'm hatebai, a pha beth a ddywedai efe wrthyf." Nid wyf yn credu y byddai efe mor chwerw wrthyf ag yr wyt ti, Eliphaz. Y mae rhyw-

beth wedi melldithio fy offerynau cerdd: "aeth fy nhelyn yn alar, a'm horgan fel llais rhai yn wylo."

ELIPHAZ. Yn wir, Job, yr wyf fi yn gobeithio na ddarllena Satan byth y benod yma o'th hanes. Gallai pobl yr Arglwydd, yn eu profedigaethau, ei darllen yn rhybudd ac addysg.

## PEN. V.

### *Job yn dyfod ato'i ei hun.*

Y LLAIS. Pwy yw hwn sydd yma yn pentyru geiriau disynwyr? Yr wyf fi wedi gwrando arno yn melldithio dydd ei enedigaeth, ac yn rhegu pob peth o'i amgylch; a dywedodd ymadroddion caledion iawn am danaf finau.

JOB. Pwy sydd yna?

Y LLAIS. Yr un y buost ti yn cymeryd arnat ymofyn am dano, a methu ei gael. Yn awr dyma fi, a dyma i ti gyfle i siarad â mi. Pan y mae dau yn myned i ymorchestu, y peth cyntaf a wnant yw gwregysu eu lwynau; "gwregysa dithau dy lwynau yn awr fel gŵr, a mynega i mi yr hyn a ofynwyf i ti."

JOB. O, fy Arglwydd, y mae pedwar yn fy mhen, ac y mae tri o honynt yn "hen iawn," yn hŷn na myfi; ac y mae pob un wedi bod yn siarad deirgwaith, a dyma y gwr yma, Elihu, wedi siarad yn hir hir. Dyma ddeg o areithiau yn fy erbyn. A gaf fi ddim ateb Elihu? Yr wyf yn cofio ei ddywediadau, ac wedi darparu atebion.

Y LLAIS. Y mae gan un fantais i ddadleu â phedwar, os ca efe ddweyd gair bob yn ail â phob un, ac yr wyt ti wedi cael. Naw gwaith y darfu y tri cyntaf lefaru, a chefaist tithau ateb naw gwaith. Y mae eich dadl wedi myned yn ymdaeru, yn ol arferiad cyffredin plant dynion, ac yr wyf fi wedi dyfod i roddi terfyn arni, ac i benderfynu rhyngoch.

JOB. A gaf fi ddim ateb Elihu?

Y LLAIS. Ni waeth i ti beidio. Dyoddef ychydig, a chei weled y bydd yn dda genyt dy fod wedi ei adael yn llonydd. Os taflodd laid ar dy gymeriad, gad iddo sychu, syrthia o hono ei hun, ac ni welir ei ol. Bydd hyny yn well na'i goluro; ac heblaw hyny, ni fedri ateb rhai o'i ofyniadau.

JOB. Pa rai?

Y LLAIS. Llawer; ond enwaf y mwyaf syml, ac agos atat ti, sef, "Pa fodd y mae dy ddillad yn gynes?"

JOB. Achos eu bod yn gynes, fy Arglwydd.

Y LLAIS. Pe gwisgid dillad am bren neu gareg, a gynhesai y rhai hyny?

JOB. Wel, na wnaent. Myfi ynte sydd yn cynhesu fy nillad, debyg genyf fi.

Y LLAIS. Y mae dy ddillad yn dy gynhesu dithau hefyd; canys yr wyt yn gynhesach ynddynt nag yn noeth.

JOB. Rhaid mai oddiwrthyf fi y mae y cynhesrwydd yn dyfod, a'r dillad yn ei gadw gyda mi, gan na chynhesant bren, na chareg, nac un peth marw.

Y LLAIS. Ië, pa fodd yr wyt ti yn gynes?

JOB. Ai tybed nad y galon sydd yn fy nghynhesu wrth weithio a lluchio y gwaed trwy fy holl gorff?

Y LLAIS. Pa fodd mae y gwaed yn gynes, ac heb fod yn rhy gynes? Pe oerai ormod safai y peiriant, a byddit farw; a phe poethai ormod cyflymai y peiriant, ai yn glefyd, a byddit farw felly. Y mae miliynau wedi cael eu hangeu y ddwy ffordd. Ond pa beth sydd wedi cadw dy waed yn gynes, a dy ddillad mewn canlyniad, am gynifer o flynyddoedd, heb rewi ar un llaw, na berwi ar y llaw arall?

JOB. Yn wir, ni wn i. Ni ddarfu i mi feddwl fawr am beth fel yna.

Y LLAIS. Dylasit feddwl, y mae y gofyniad yn deg ac agos atat ti; ond er meddwl, ni buasit yn deall. Un o'r pethau anamgyffredadwy sydd yn dangos fy noethineb yw cynhesrwydd y gwaed a'r dillad.

JOB. Rhyfedd iawn!

Y LLAIS. Wel, dywedais na fedrit ateb un o ofyniadau symlaf Elihu; ac y mae gan y gwr ieuanc lawer o bethau eraill na fedri eu hateb. Ond yr wyf fi yn myned i roddi ychydig o ofyniadau i ti, a mynega i mi yr hyn a ofynwyf. "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear, ac ar ba beth y sicrhawd ei sylfeini hi?" Pe byddit yn taflu i fyny belen drymach na'r awyr, gwyddost y syrthia yn ol. Gwyddost mai y ddaear a'i holl foroedd, ei holl greigiau a'i holl fynyddau, yw y belen drymaf; ac yr wyt yn ddigon o anianydd i ddeall fod hon yn ymrolio yn ddyddiol, ac yn rhedeg ei chylchoedd blynyddol yn yr eangderau; a'm gofyniad i yw, pa beth sydd yn ei chynal? ac ar ba beth y pwysa ei sylfeini hi?

JOB. Deddf at-dyniad, mae yn debyg.

Y LLAIS. Pa le y mae y ddeddf hòno? a pha beth ydyw?

Job. Yn yr haul, efallai. Ai nid yr un ddeddf ydyw â'r hon sydd yn tynu y gareg a deflir i lawr i'r ddaear?

Y Llais. Pa fodd na thynai yr haul y ddaear iddo ei hun, fel y gwna y ddaear â'r gareg a deflir?

Job. Meddyliwn y rhaid fod yna ryw gadwen neu gadwyni eraill i atal i'r ddaear gael ei thynu i'r haul; ond yn wir ni fedraf ddweyd ar ba beth y sicrhawyd ei sylfeini hi.

Y Llais. Na fedri, mi wn; a dyna un o'r pethau na wyr neb ond y Duw y buost ti yn cymeryd cryn ryddid i siarad am dano. Ond dyna i ti ofyniad arall, "Pwy a gauodd y môr â dorau, pan ruthrodd efe allan megys pe deuai allan o'r groth?" Pa beth sydd yn codi y môr at ei lanau, ac yn ei atal i redeg dros wyneb y ddaear? Wrth weled ei donau yn rhuthro o flaen y dymestl, gellid meddwl y neidiai dros y mynyddoedd, ac y llanwai yr holl ddyffrynoedd; ond wedi iddo gusanu y lan, try yn ol ar awgrymiad y tywod. Pa beth sydd yn peri hyn? A chan fod y ddaear yn gron, rhaid fod dynion weithiau a'u penau i lawr, anifeiliaid a'u cefnau i lawr, a'r môr a'i wyneb i lawr. Ni fedri di droi y cawg a'i wyneb i lawr, a chadw y dwfr ynddo. Pa fodd y gall y pethau hyn fod?

Job. Yn wir, ni wn i ddim.

Y Llais. Paid a bod mor hyf, ynte, i lefaru am yr un a wyr, ac a wnaeth y deddfau hyn. Ateb eto, "Pwy a ranodd ddyfrlle i'r llifddyfroedd? a ffordd i fellt y taranau?" Dyna wlaw yn codi o'r ddaear a'r môr mewn rhyw fan neillduol, onid naturiol fuasai i'r cwbl ddilyn eu gilydd o flaen yr awelon, a disgyn gyda'u gilydd ar yr un dyffryn, gan foddi pawb a phob peth sydd ynddo? Ond y mae yn ymranu,—peth ar y dde, a pheth ar yr aswy; a pheth yn disgyn ar waelod pob dyffryn, ar ael pob bryn, a chopa pob mynydd. Y mae y dafnau oeddynt gyda'u gilydd yn y bore ganoedd o filldiroedd oddiwrth eu gilydd cyn haner dydd. Y mae rhai yn dyfrhau cedrwydd Libanus, ac eraill yn maethu gwinwydd, eraill yn diodi glaswellt glanau yr Euphrates, ac eraill yn myned i ynysoedd y môr. Pa ddeddf sydd yn trefnu pethau fel hyn?

Job. Ni wn i ddim. Y mae y pethau sydd o'm hamgylch, ac y dylaswn sylwi arnynt, wedi fy synu.

Y Llais. Myfi sydd yn rhanu "dyfrlle i'r llifddyfroedd," ac myfi sydd yn "gwneud ffordd i fellt y taranau." Ond a welaist ti rew mawr yn toi pob llyn, afon, a chornant, megys

â chareg—y melinau wedi sefyll, a'r ddaear mor anhawdd i roddi aradr ynddi a phe buasai yn haiarn? Y mae llaw pob dyn wedi ei selio, heb ganddynt ddim i'w wneud ond edrych ar eu gilydd. Pe yr unasai holl drigolion byd ar y 1af o Ionawr i geisio cael pethau yn rhyddion, ofer fuasai eu llafur; ond yn Chwefror y mae y gwynt yn troi, a'r awel yn tynheru, a'r mân-wlith yn disgyn; ac mewn pedair awr ar hugain y mae pobpeth wedi ei ollwng yn rhydd! A allesit ti wneud hynyna? A wyddost ti pwy wnaeth, a pha fodd y gwnaeth?

Job. Gwn mai tydi sydd yn "rhwymo hyfrydwch Pleiades," ac yn gwneud rhew; a thydi sydd yn "datod rhwyman Orïon," ac yn gwneud meiriol; ond pa fodd, nis gwn.

Y Llais. Dylit tithau fod yn fwy gofalus i siarad yn barchus am y Duw mawr; ond galwaf dy sylw at un dosbarth arall o weithredoedd Ior. Dyna lonaid nyth cigfran o gywion; ni bu eu rhieni erioed yn hau, nac yn medi, nac yn cywain i ysguboriau, nac yn pesgi gwartheg na defaid yn fwyd iddynt. A y cigfrain allan bob bore i ymofyn am fwyd i'w cywion heb wybod i ba le. Dychwelant cyn nos, ac ni ddywedodd yr un o honynt erioed wrth eu rhai bychain, Methodd eich mam a chael tamaid o fwyd i chwi heddyw. Pwy fu yn darparu iddynt?

Job. Wel, dy ragluniaeth di, fy Nuw. "A Job a atebodd yr Arglwydd, ac a ddywedodd, Myfi a wn y gelli di bob peth;" a gwn hefyd fy mod i wedi siarad yn ynfyd, a "chuddio cynghor âg ymadroddion heb wybodaeth." "Y mae yn ffiaidd genyf fi fy hun. Gwael ydwyf; pa beth a atebaf i ti? mi a osodaf fy llaw ar fy ngenau. Dywedais unwaith, ond nid atebaf; ïe, ddwywaith, ond ni chwanegaf."

Elihu. Fy Arglwydd, yr oeddit wedi addaw penderfynu y ddadl rhwng Job, ei dri chyfaill, a minau. Ti a gofi mai amddiffyn dy gymeriad di yr oeddem ni, a cheisiasom siarad yn barchus. Y mae Job yn taeru ei fod efe yn ddyn da, ac nad yw y gorthrymderau a'i cyferfydd yn profi yn amgen; ac yn awr agorwn ein clustiau i dderbyn gair oddiwrthyt ti.

Y Llais. O, Job bia y ddadl. "Yr un ddamwain a ddygwydd i'r cyfiawn a'r annuwiol, i'r da ac i'r glân." Y mae Merch Seion yn yfed y cwpan chwerw heddyw, a Merch Edom yn ei yfed yfory. Byddaf yn "ceryddu" y

rhai wyf yn garu, ac yn "fflangellu" y rhai wyf yn dderbyn. Job bia y ddadl, ond yr wyf yn addef iddo golli ei ysbryd.

JOB. Do, yn wir, fy Arglwydd, collais fy ysbryd; dywedais eiriau rhyfygus, ac "yr wyf yn edifarhau mewn llwch a lludw;" ond ti a oddefi i mi ddweyd gair mewn hunanamddiffyniad. Yr oedd tri o honynt yn fy mhen, a phedwar, ond daethost ti yn mlaen i atal i mi ateb Elihu. Yr oeddynt yn fy nghyhuddo o fod yn rhagrithiwr, a gwyddwn inau yn amgen. Y mae yn haws i'r anonest ddyoddef bloeddio lleidr ar ei ol na'r gonest. Y mae yn haws i'r caethfeistr a'r dyn gwaedlyd ddyoddef ei alw yn gaethfasnachwr a gwrthryfelwr, na'r un sydd wedi bod yn dadleu ac yn gweithio, ac yn aberthu dros ryddid a heddwch drwy ei oes.

Y LLAIS. Yr wyt ti yn cyhoeddi y gwir, fy ngwas Job, a dywedaf wrth Eliphaz y Temaniad, "Fy nigofaint a gynheuodd yn dy erbyn di, ac yn erbyn dy ddau gyfaill; am na ddywedasoch am danaf fi yn uniawn fel fy ngwasanaethwr Job."

ELIPHAZ. Wel, dy amddiffyn di, a rhoddi y bai ar Job yr oeddym ni. Hyn a'n cynhyrfodd i siarad; ac ai dyma y diolch a gawn?

Y LLAIS. Ië, yr wyf fi yn adnabod calonau pob un o honoch, ac y mae ei un ef yn fwy uniawn ger fy mron na'r eiddo chwi. "Ac yn awr, gan hyny, cymerwch i chwi saith o fustych, a saith o hyrddod, ac ewch at fy ngwasanaethwr Job, ac offrymwch boethaberth drosoch; a gweddied fy ngwasanaethwr Job drosoch; canys myfi a dderbyniaf ei wyneb ef; fel na wnelwyf i chwi yn ol eich ffolineb, am na ddywedasoch yn uniawn am danaf fi, fel fy ngwasanaethwr Job."

---

# DANIEL.

## PEN. I.

*Yn gwrthod y gwin.*

CADFRIDOG. Dyna Jehoiacim brenin Judah wedi ei orchfygu. Pa beth wneir bellach i'r wlad?

NEBUCHODONOSOR. Lladder Jehoiacim. Cymerer Jehoiacin ei fab, a'i fam, a'i wragedd, a'r tywysogion, rhyfelwyr,

barnwyr, crefftwyr, a holl bobl ddefnyddiol Judah yn gaethion i Babilon—bydd eu heisieu yno: y mae genyf weithiau mawrion mewn golwg; ond gadawer yr hen bobl, y plant, a'r tlodion ar ol. Llosger eu teml hwy; torer rhai o'r llestri aur a roddodd Solomon ynddi, a chymerer y goreu o honynt a rhodder hwy yn nhŷ ein duw ni.

CADFRIDOG. Pa le y ceir tai iddynt yn Babilon?

NEB. O! cânt adeiladu iddynt fythynod ar lanau yr afonydd. Byddant felly yn barod i'n gwasanaethu pryd bynag y daw galwad.

CADFRIDOG. Gwneir yn ol dy orchymyn, fy mrenin. Llenwir Sinar o gaethion—pigion pobl Judah.

NEB. Gofyner i Aspenaz fy mhen-ystafellydd ddyfod yma.

ASPENAZ. Wele fi, fy mrenin.

NEB. Byddai yn dda genyf gael rhai o blant y gaethglud i'r llys i'w dysgu yn moesau ac iaith Caldea; ond rhaid iddynt fod o'r had breuhinol; yn llanciau hardd a synhwyrol. A weli di yn dda, Aspenaz, ddewis rhai?

ASPENAZ. Gwnaf, fy mrenin. Yr wyf wedi sylwi ar bedwar yn eu plith yn edrych yn synhwyrol, ac yn llanciau harddaf a welais erioed.

NEB. Gwna frys.

ASPENAZ. Dyma y pedwar, fy arglwydd. Enw y cyntaf yw Daniel, ac enwau y tri eraill yw, Hananiah, Misael, ac Azariah.

NEB. Yr wyf yn eu mawr hoffi. Rhodder iddynt dair blynedd o addysg yn y llys; y faint a fynont o fwyd y brenin, a'r gwin a yfaf, ac yna dyger hwy i sefyll ger fy mron.

DANIEL. (Wrth Aspenaz). Y mae bwyd y brenin yn rhy fras i ni, ac y mae arnom ofn effeithiau y gwin a yfa efe. Gwelsom yma lawer o feddwdod yn barod. Byddai yn well genym gael bwyd mwy syml a diniwaid.

ASPENAZ. Ni feiddiaf beidio cyflawni gorchymyn y brenin. Beth pe gwelai efe eich wynebau yn edrych yn gulach na'r bechgyn eraill, a gofyn i mi pa beth yw y rheswm? Byddai yr atebiad yn sicr o gostio fy mhen i mi. Gofala di, Melsar, am roddi iddynt fwyd a diod yn ol gorchymyn y brenin.

DANIEL. Gad i ni gael prawf am ddeng niwrnod ar fwyta ffa ac yfed dwfr, yn lle bwyta bwyd ac yfed gwin y brenin. Ni bydd deng niwrnod yn llawer, ac ni bydd achos

i'r brenin gael gwybod. Os gweli ein bod yn edrych yn waelach, gelli wneud fel y gwelech yn dda.

MELSAR. Wel, mi wnaf. Nid yw deg niwrnod yn llawer. Cymeraf ymaith fwyd y brenin, a chewch ffa i'w bwyta, a dwfr i'w yfed.

ASPENAZ. Y mae y deg niwrnod drosodd. Gadawer i mi weled y bechgyn gyda eu gilydd.

MELSAR. Dyma hwy, fy meistr Aspenaz, barna di a'r boneddigion eraill hwy wrth eu golwg.

ASPENAZ. Wel, yn wir, yr ydym ni yn gweled llanciau y ffa a'r dwfr yn dewach o gnawd, a thecach yr olwg na'r holl fechgyn sydd yn cael rhan o fwyd y brenin. Gan hyny, Melsar, gad iddynt gael eu dymuniad.

NEB. Pa fodd y mae llanciau Judah yn dyfod yn mlaen? Hoffwn eu gweled a'u harholi.

ASPENAZ. Wele hwy, fy mrenin, a'r llanciau eraill gyda hwy, fel y gallo dy fawrhydi eu cymharu.

NEB. Nid oes yma yr un yn edrych gystal a'r pedwar! Da genyf eich gweled, wyr ieuainc. Y mae bwyd y brenin, a'r gwin a yfa, yn cytuno yn dda â chwi.

DANIEL. Nid y rhai hyny yw ein bwyd a'n diod ni, fy arglwydd frenin.

NEB. Ar ba beth yr ydych yn byw?

DANIEL. Darfu i ni ddymuno cael ein porthi â ffa, ac yfed dwfr, am ein bod yn ofni glythineb a meddwdod; a chaniataodd y pen-ystafellydd i ni gael hyny, gan dybio na byddai y brenin yn anfoddlon.

NEB. Nac wyf fi; y mae yr olwg arnoch yn cymeradwyo dirwest, a phwy na ddilynai eich esiampl?

DANIEL. Yr ydym yn iachach, ac yn cysgu yn well na neb yn y llys. Aml y bydd ein cydysgolheigion yn methu codi o'u gwelyau gan waew yn eu penau, ond ni byddwn ni byth yn colli gwers.

NEB. Rhaid i mi gael eich arholi eto mewn dewiniaeth, astronomyddiaeth, ac iaith Caldea, a moesau y llys.

DANIEL. Ydym yn barod, frenin.

NEB. (Wrth y tywysogion). Yn sicr, y mae y llanciau yna yn rhagori ar bawb am bob peth. Rhaid fod eu Duw yn eu dysgu, a dirwest yn fanteisiol iddynt.

## PEN. II.

*Yn dehongli y breuddwyd.*

NEB. Breuddwydiais freuddwyd rhyfedd neithiwr. Yr wyf yn sicr fod rhyw goel arno; ond yr wyf yn methu ei gofio, ac yn methu cysgu; teimlaf yn drallodus iawn. A fydd fy mhenystafellydd gystal ag anfon am i'r dewiniaid, astronomyddion, hudolion, a'r Caldeaid i ddyfod yma?

ASPENAZ. Gwnaethum yn ol dy air, fy mrenin; a dyma y boneddigion ger dy fron.

NEB. Breuddwydiais freuddwyd, foneddigion, ac y mae arnaf eisieu gwybod ei ddehongliad.

DEWIN. O! frenin! adrodd i ni y breuddwyd, ac ni a'i dehonglwn i ti.

NEB. Yr wyf wedi anghofio y breuddwyd. Ac os medrwch ei ddehongli, paham na fedrwch ddweyd beth ydoedd? a chawn inau brawf felly eich bod yn gwybod rhywbeth. Pe yr adroddech ef, byddwn yn sicr o'i gofio, canys yr oedd yn un hynod iawn; ac yr wyf am eich profi. Oni fynegwch i mi y breuddwyd a'i ddehongliad, gwneir chwi yn ddrylliau, a'ch tai yn domenau; ond os gwnewch, chwi a gewch roddion ac anrhydedd o'm blaen i.

DEWIN. Wel, adrodd i ni y breuddwyd, ac ni a'i dehonglwn.

NEB. Oni ddywedais i chwi fy mod wedi ei anghofio? Nid ydych wrth fy holi yn gwneud dim ond lladd amser; ac oni fynegwch i mi y breuddwyd a'i ddehongliad, gwneir a chwi fel y dywedais.

DEWIN. Nid oes dyn ar y ddaear fedr wneud yr hyn y mae y brenin yn ei ofyn; ac ni cheisiodd neb beth mor afresymol gan na dewin, astronomydd, na Chaldead. Nid oes neb fedr wneud ond y duwiau nad yw eu trigfa yn y cnawd.

NEB. Ni fedraf eich goddef; ac yr wyf yn gorchymyn eich lladd, a Daniel a'i gyfeillion gyda chwi.

ARIOCH. (Wrth Daniel). Y mae yr holl ddoethion i gael eu lladd, a thithau a'th gyfeillion yn eu plith, am nad oes neb yn medru dweyd ei freuddwyd wrth y brenin.

DANIEL. (Wrth y brenin). Paham y mae gorchymyn i'n lladd yn myned oddiwrth y brenin gyda'r fath frys? Gadawer i mi gael amser, ac mi a ddangosaf i'r brenin y breuddwyd a'i ddehongliad.

NEB. Wel, rhoddaf i ti amser.

DANIEL. (Wrth y llanciau). Gweddiwch ar Dduw y nefoedd am ddatguddio i mi y breuddwyd.

SADRACH. Gwnawn, fy mrawd.

DANIEL. Breuddddwydiais inau neithiwr, yr wyf yn ei gofio, a medraf ei ddehongli; ac yr wyf yn credu fod Duw wedi datguddio breuddwyd y brenin i mi. Gyda chenad Arioch, af at y brenin, a dywedaf wrtho y breuddwyd a'i ddehongliad.

DANIEL. (Wrth y brenin). O! frenin! bydd fyw byth! Y mae Duw y nefoedd wedi datguddio i mi y breuddwyd a'i ddehongliad.

NEB. Wel, adrodd ef i mi, a myfi a gofiaf pan glywaf ef.

DANIEL. A yw y brenin yn cofio gweled delw fawr yn sefyll o'i flaen, a'i dysgleirdeb yn rhagorol, a'r olwg arni yn ofnadwy?

NEB. Yr wyf yn cofio.

DANIEL. Y mae Duw yn y ddelw yna wedi rhoddi i'r brenin fyr olwg ar brif deyrnasoedd y byd o hyn hyd ddiwedd amser. A ydwyt ti yn cofio fod pen y ddelw o aur?

NEB. Yr wyf yn cofio.

DANIEL. Tydi, frenin, ac ymerodraeth eang, gadarn, a chyfoethog Babilon yw hwnw. Ac a ydwyt ti yn cofio fod dwyfron a breichiau y ddelw o arian?

NEB. Yr wyf yn cofio.

DANIEL. Brenhiniaeth y Mediaid a'r Persiaid a ddaw ar ol brenhiniaeth Babilon yw hwnw. Ac a wyt ti yn cofio fod bol a morddwydydd y ddelw o bres?

NEB. Yr wyf yn cofio.

DANIEL. Ymerodraeth eang Groeg a ddaw ar ol Media a Phersia yw hwnw. Ac a ydwyt ti yn cofio fod coesau a thraed y ddelw—peth o honynt o haiarn a pheth o bridd?

NEB. Yr wyf yn cofio.

DANIEL. Brenhiniaeth eang a rhanedig Rhufain a ddaw ar ol Groeg yw hwnw. Ac a wyt ti yn cofio gweled careg yn dyfod o'r mynydd, heb weled y llaw oedd yn ei threiglo, ac yn taro yn erbyn y ddelw, nes ei malurio yn llwch o'i phen i'w thraed, a'r gareg hòno yn chwyddo yn fynydd mawr, nes llenwi y ddaear?

NEB. Yr wyf yn cofio. Dyna fy mreuddwyd i'r llythyren!

DANIEL. Brenhiniaeth Duw y nefoedd yw hòno. Tangnefedd yw cymeriad y Tywysog.

NEB. Mi a wn dy fod wedi darlunio fy mreuddwyd o'r pen i'r traed; a chan fy mod yn deall hyny, credaf y dehongliad, er na chaf fi weled y cyflawniad. Gwn mai dy Dduw di yw Duw y duwiau. Af i waelod fy nhrysorau i dy anrhegu, a gwnaf di yn benaeth ar holl dalaeth Babilon.

DANIEL. Diolch i ti, frenin; a diolchwn pe rhoddit swydd i fy nhri chyfaill.

NEB. Cânt hwythau fod yn swyddogion o danat ti.

## PEN. III.

### *Y Tri Llanc a Daniel.*

NEB. Dyma fi wedi adeiladu i mi fy hun Babilon fawr, nad oes dinas o'i bath ar y ddaear. Y mae arnaf eisieu gwneud duw eto.

ASPENAZ. Gwneud duw, fy mrenin! Yr oeddwn yn meddwl mai peth yn bod erioed oedd duw, a gwneuthurydd pobpeth arall, ac nid peth i'w wneud. Ond o ba ddefnydd y gwnei di dduw?

NEB. Gwnaf dduw o aur: dyma ddefnydd y duw mwyaf poblogaidd yn y byd.

ASPENAZ. A wnei di dduw mawr?

NEB. Gwnaf, yn 23 llath o uchder, a thair o led.

ASPENAZ. A wnei di ef ar lun dyn—a llygaid, clustiau, tafod, dwylo, a thraed ganddo?

NEB. Gwnaf, wrth gwrs, ar fy llun fy hun. I mi y perthyn yr addoliad.

ASPENAZ. A fydd efe yn medru gweled, clywed, siarad, a cherdded?

NEB. Na fydd; paid di a manylu, Aspenaz.

ASPENAZ. Yn mha le y mae y brenin am ei osod i fyny?

NEB. Yn ngwastadedd Dura.

ASPENAZ. Gan na fedr gerdded, pa fodd yr ä yno? bydd yn drwm iawn.

NEB. Rhaid ei gario a'i godi.

ASPENAZ. A all duw 30 llath o uchder, a dim ond tair llath o led sefyll ar ol ei godi?

NEB. Na, rhaid rhoddi propiau i'w gynal. Ac wedi i mi gael duw fel hyn, rhaid cael cyffes a *deed;* sefydlu crefydd, a chael cymanfa i'w addoli.

ASPENAZ. Pwy wahoddir i'r gymanfa?

NEB. Gwahoddaf y tywysogion, duciaid, pendefigion,

rhaglawiaid, trysorwyr, cyfreithwyr, trethwyr, a holl lywodraethwyr y taleithiau, goreugwyr fy nheyrnas.

ASPENAZ. A raid i bawb dderbyn dy grefydd di, ac addoli y ddelw?

NEB. O, rhaid. Pan fydd y goreugwyr yn chwythu y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring, a'r symphon, ac offerynau bychain eraill, rhaid i bawb syrthio ar unwaith, ac addoli.

ASPENAZ. Beth pe byddai rhai o honynt heb gredu yn dy dduw a'th gyffes di?

NEB. Dim pwys am hyny; mi wnaf iddynt gredu, neu gadw at y *deed*, credu neu beidio.

ASPENAZ. A fydd rhyw gosb am beidio addoli?

NEB. Bydd; y neb ni syrthio ac ni addolo, yr awr hòno a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth. Dyma y gymanfa wedi ymgasglu ar y gwastadedd; a dyna swn y cornet, &c., a thyna y goreugwyr oll ar lawr.

ASPENAZ. Ofnwyf fod y rhan fwyaf yn rhagrithio. Ond y mae yna dri heb syrthio, a'r rhai hyny mewn swyddau yn y llys.

NEB. Pwy ydynt?

ASPENAZ. Sadrach, Mesach, ac Abednego, y rhai a ddyrchefaist i swyddau ar gais dy brifweinidog Daniel.

NEB. Dyna y llanciau gonestaf yn fy nheyrnas. Y mae yn anhawdd genyf gredu y gwrthodant ymgrymu i'm delw. Gofyner iddynt ddyfod ataf.

ASPENAZ. Wele hwy, fy mrenin.

NEB. Ai gwir a glywais am danoch Sadrach, Mesach, ac Abednego, na addolwch fy nuwiau, ac nad ymgrymwch i'r ddelw aur a gyfodais?

SADRACH. Ië, digon gwir, O! frenin.

NEB. Cewch gynyg eto; a phan glywoch y cornet, &c., y tro nesaf, os syrthiwch ac addoli, da; onide, yr awr hòno bwrir chwi i ganol ffwrn o dân poeth.

SADRACH. O! frenin, nid ydym yn gofalu am ateb i ti yn y peth hyn.

NEB. Mi a wnaf i chwi ofalu; canys pa Dduw yw efe a'ch gwared chwi o'm llaw i?

SADRACH. Y mae y Duw yr hwn yr ydym ni yn ei addoli, yn abl i'n gwared ni o'r ffwrn danllyd boeth: ac efe a'n gwared ni o'th law di, O! frenin; a phe na wnai, ni addolwn dy dduwiau, ac nid ymgrymwn i'r ddelw aur a gyfodaist.

ASPENAZ. Paham y mae y brenin mor gynhyrfus? a pha beth yw y lliw yna sydd yn ei wynebpryd?

NEB. O! y mae y llanciau yna wedi fy nghynhyrfu! Dywedwch am dwymno y ffwrn saith waith poethach nag arferol.

ASPENAZ. Y mae y ffwrn yn barod, O! frenin.

NEB. Dywedwch wrth y gwyr cryfa yn fy llu am ymaflu yn y llanciau a'u bwrw iddo.

ASPENAZ. O! fy mrenin, y mae y llanciau wedi eu bwrw i'r tân; ac wrth fod gorchymyn y brenin mor gaeth, a'r ffwrn yn boeth ragorol, y mae y gwyr a'u bwriodd wedi eu rhostio i farwolaeth.

NEB. Af i olwg y ffwrn fy hunan. Dyma gelaneddau y gwyr cryfion wrth ei genau fel gloyn! Ac onid tri wyr a fwriwyd i'r tân yn rhwym?

ASPENAZ. Gwir, O! frenin.

NEB. Yr wyf fi yn gweled pedwar yn rhodio yn rhyddion, a dull y pedwerydd sydd debyg i Fab Duw.

ASPENAZ. Y mae dy gynghorwyr yn eu gweled fel tithau, ond nid oes yr un o honynt yn abl i roddi cyfrif am y peth.

NEB. Y mae y ffwrn yn dechreu oeri; af yn nes ati, fel y gallwyf ymddyddan â'r llanciau. Chwi Sadrach, Mesach, ac Abednego, gwasanaethwyr y Duw goruchaf, deuwch allan, a deuwch yma.

SADRACH. Wele ni, O! frenin.

NEB. Pa le y mae eich cadwynau?

SADRACH. Wedi llosgi.

NEB. Pwy oedd gyda chwi?

SADRACH. Angel Duw.

NEB I ba le yr aeth efe?

SADRACH. Adref, am ei fod wedi darfod ei waith.

NEB. Deuwch yn mlaen, dywysogion, duciaid, pendefigion, a chynghorwyr, ac edrychwch ar y gwyr hyn. Ni ddeifiodd blewyn o'u penau; ni newidiodd eu peisiau, ac nid oes sawyr tân arnynt! Ni losgodd ddim ond eu cadwynau!

ASPENAZ. Yr ydym oll yn synu, ac yn tewi.

NEB. Wel, yn wir, ni fedraf fi dewi a dweyd, Bendigedig yw Duw Sadrach, Mesach, ac Abednego, yr hwn a anfonodd ei angel i waredu ei weision a ymddiriedasant ynddo, ac a dorasant orchymyn y brenin.

ASPENAZ. Cydnabyddwn oll fod y peth yn rhyfedd, ac awn adref i fyfyrio arno o gymanfa addoli y ddelw.

NEB. Bydd genyf fi byth uwch meddyliau am, a mwy o ymddiried yn Sadrach, Mesach, ac Abednego, a'u Duw.

## PEN IV.

### *Daniel yn darllen yr ysgrifen.*

BELSASSAR. Yr wyf am wneud gwledd yn y palas mawr i fil o dywysogion, a'u gwragedd, a'u gordderchadon. Hulier y byrddau.

PENYSTAFELLYDD. Gwnaed yn ol dy air, O! frenin.

BEL. Diolch i'm penystafellydd. Ni ddarfu i ti na neb arall erioed arlwyo gwell gwledd; ac yn awr am y gwin.

PEN. Y mae pob math o winoedd ar y bwrdd, fy arglwydd.

BEL. Llanwed pawb ei gwpan at yr ymylon. Yr wyf yn cynyg iechyd da i'r duwiau aur, arian, pres, haiarn, coed a maen.

OLL. Hwre! *Hwre!* HWRE! Clod i'r duwiau, ac yn enwedig i'r rhai aur.

BEL. Y mae y gwin yn effeithio ar fy mhen, ac yr wyf yn teimlo fy nghalon yn llawen. Darfu Nebuchodonosor fy nhaid ddwyn llestri teml Duw yr Hebreaid o Jerusalem, ac y maent yn nhy ein duwiau ni; ac yn mlas y gwin tarawodd yn fy mhen anfon am danynt, fel y gallom yfed iechyd da y duwiau o honynt.

PEN. Ardderchog! anfonir am danynt. Dyma hwy, O! frenin; ac y maent yn dysgleirio.

BEL. Llanwer y cwpanau eto yn llawnach nag o'r blaen; a llanwer llestri y deml, fel y gallwyf fi a'r mwyaf anrhydeddus o'm tywysogion, a'm gwragedd, a'm gordderchadon yfed o honynt. Molianwn ac yfwn.

OLL. Hwre! *Hwre!* HWRE! Clod i'r duwiau, yn enwedig i'r rhai aur,

BEL. Be—, be—, beth a welaf ar y pared o flaen y canwyllbren aur! Gwelaf fysedd llaw dyn yn ysgrifenu! A—, a oes acw rywbeth, neu ai y gwin sydd yn berwi fy ymenydd.

TYWYSOG. Na, frenin, y mae acw fysedd llaw dyn; ac y maent wedi ysgrifenu tri gair.

BEL. A fedr neb o honoch eu darllen? Y mae arnaf ofn fod rhyw ddrwg yn y geiriau. Yr wyf yn teimlo rhwymau fy lwynau yn datod, a'm gliniau yn curo yn nghyd.

Tywysog. O! fy nghyd-dywysogion, gwragedd a gordderchadon y brenin! y mae lliw wyneb ei fawrhydi wedi newid! Y mae arnaf ofn iddo lewygu!

Bel. Bobl! *bobl!* O! bobl! rheder i ymofyn yr astronomyddion, y Caldeaid, a'r brudwyr.

Pen. Y maent wedi dyfod; cymered y brenin galon.

Bel. Pa ddyn bynag a ddarlleno y geiriau hyn, ac a ddangoso i mi eu dehongliad, a wisgir â phorphor, ca gadwyn aur am ei wddf, a llywodraethu yn drydydd yn y deyrnas. A fedr yr un o'r astronomyddion ei darllen?

Astronomyddion. Na fedrwn.

Bel. A fedr un o'r Caldeaid?

Caldeaid. Na fedrwn.

Bel. A fedr un o'r brudwyr?

Brudwyr. Na fedrwn. Yr ydym oll wedi bod ar ben y fainc, ac nid oes yr un o honom yn adnabod y llythyrenau rhagor deall y geiriau a'u dehongli.

Tywysog. Ni welwyd neb wedi cyffroi yn debyg i'r brenin. Edrycher ar liw ei wyneb! Dyna efe wedi syrthio mewn llewyg! Peth rhyfedd hefyd, serch bysedd llaw dyn yn ysgrifenu tri gair! Y mae yn gynhwrf drwy yr holl balas, a dyna y frenhines wedi dyfod i ystafell y wledd.

Nitocris. Bydd fyw byth, frenin! na chyffroed dy feddyliau, ac na newidied dy wedd. Myfi yw dy fam. Gwn hanes llywodraeth Babilon, a gwelais bethau rhyfedd yn amser Nebuchodonosor dy daid.

Bel. Ië, fy mam; ond y mae arnaf ofn yr ysgrifen yna. Y mae bysedd llaw dyn i'w gweled ar galchiad y pared eto, ac nid oes neb yn medru darllen y geiriau. Dywed fy nghydwybod fod drwg ynddynt, o herwydd i mi yfed iechyd da y duwiau o lestri y deml.

Nitocris. Bydd fyw byth, frenin, ac na fydd mor gyffrous. Y mae yn rhywle yn dy deyrnas un ag yspryd y duwiau ynddo. Gwyr bob peth. Medrodd gael allan freuddwyd dy daid Nebuchodonosor, a'i ddehongliad; a gwnaeth efe ef yn benaeth y dewiniaid, astronomyddion, Caldeaid, a brudwyr. Yr wyf yn sicr y medr efe ddarllen a deall y geiriau sydd ar y pared.

Bel. Anfoner am dano.

Pen. Wele y dyn, fy mrenin.

Bel. Ai ti yw Daniel, un o feibion caethglud Judah, a ddygwyd i Babilon gan fy nhaid Nebuchodonosor?

DANIEL. Ië, myfi yw, O! frenin.

BEL. Clywais fod yspryd y duwiau ynot, a dy fod yn medru dehongli breuddwydion, egluro damhegion, a datod cylymau. A weli di yr ysgrifen acw sydd ar galchiad y pared o flaen y canwyllbren?

DANIEL. Gwelaf, O! frenin.

BEL. Os medri di ddarllen yr ysgrifen, a mynegi i mi ei dehongliad, cei dy wisgo mewn porphor, cadwyn aur am dy wddf, a llywodraethu yn drydydd yn y frenhiniaeth.

DANIEL. Bydded dy roddion i ti, a dod dy anrhegion i eraill; er hyny, yr ysgrifen a ddarllenaf, a'i dehongliad a hysbysaf. A ffol a fyddai i mi wenieithio: y mae y geiriau yn cynwys pethau ofnadwy.

BEL. Wel, gadawer i mi wybod eu cynhwysiad.

DANIEL. Nebuchodonosor dy daid oedd y brenin mwyaf yn y byd. Yr oedd pawb yn crynu rhagddo: y neb a fynai a laddai, a'r neb a fynai a gadwai yn fyw; a'r neb a fynai a gyfodai, a'r neb a fynai a ddarostyngai.

BEL. Gwn hanes fy nhaid.

DANIEL. Ië, ond aeth dy daid yn falch—priodolai ei lwyddiant iddo ei hun, a chymerodd Duw ei ogoniant oddiarno. Tynodd ef i lawr oddiar ei orsedd, ac anfonodd ef i fyw at yr anifeiliaid, er mwyn dysgu iddo mai efe sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion, ac yn eu rhoddi i'r neb y myno.

BEL. Wel, gwn hanes fy nhaid.

DAN. Gwyddost, frenin; ac er hyny, darfu i ti ymfalchio ac ymddwyn yn union fel yntau; a thyna paham yr anfonwyd y llaw i ysgrifenu y geiriau hyn ar y pared.

BEL. Pa beth yw y geiriau a'u cynhwysiad? Brysia i'm hysbysu.

DANIEL. Wel, dyma y geiriau—*Mene, Tecel, Peres;* a dyma y dehongliad,—*Mene,* Duw a rifodd dy frenhiniaeth ac a'i gorphenodd; *Tecel,* ti a bwyswyd yn y clorianau ac a'th gaed yn brin; *Peres,* rhanwyd dy frenhiniaeth a rhoddwyd hi i'r Mediaid a'r Persiaid.

BEL. Er fod y dehongliad yn fy erbyn, ac nad yw Daniel yn edrych am wobrwyon; yr wyf yn gorchymyn ei wisgo â phorphor, rhoddi cadwen aur am ei wddf, a'i gyhoeddi yn drydydd yn fy mrenhiniaeth.

PEN. O! fy mrenin! Meddwodd y ceidwaid neithiwr; anghofiasant gloi y pyrth pres sydd ar yr afon. Y mae

milwyr Media a Phersia wedi dyfod i'r dref yn filoedd; ac y mae lluoedd o honynt yn ymyl y palas.

DANIEL. Y nos hòno y lladdwyd Belsassar, brenin y Caldeaid; a Darius y Mediaid a gymerodd y frenhiniaeth.

## PEN. V.

*Daniel yn ffau y llewod.*

DARIUS. Y mae fy nheyrnas mor fawr, yr wyf am ddewis 120 o dywysogion i'w rhoddi arni, a gwneud tri rhaglaw, a Daniel yn benaf o honynt; a byddaf yn meddwl weithiau ei roddi ef ar fy holl deyrnas.

RHAGLAW. Wel, dyna y brenin wedi gwneud Daniel yn ben arnom oll; pa bosibl dyoddef? Un o blant y gaethglud, a'r hen ddirwestwr ystyfnig! Gwir iddo ddweyd a dehongli breuddwyd Nebuchodonosor. Ni cheisiwyd ganddo ymgrymu i'r ddelw: gwyddai y brenin ei fod yn rhy benstyff i wneud. Byddai yn addasach iddo fyned at lymgwn y gaethglud i wneud priddfeini na bod yn y palas.

TYWYSOG. A fyddai dim modd i ni wneud yn ddrwg rhyngddo a'r brenin?

RHAGLAW. Y mae yn anmhosibl cael dim yn ei erbyn fel swyddog y llywodraeth. Y mae yn cyfodi mor foreu, ac yn cadw rheolaeth a chyfrifon mor fanwl; ac ä i'r gwely yn gynar, heb fod byth yn feddw. Y mae wedi enill y cymeriad yna yn amser Nebuchodonosor a Belsassar, ac y mae Darius yn gwybod ei hanes yn dda.

TYWYSOG. A allwn ni gael yr un ffordd i yru y brenin a'i Dduw ef yn benben? Byddai efe yn sicr o lynu wrth ei Dduw, a myned yn erbyn y brenin.

RHAGLAW. Ië, onide; y mae efe yn myned ar ei liniau, ac yn gweddio dair gwaith bob dydd; a allem ni ddim cael deddf i'w atal i weddio?

TYWYSOG. Ië, gwnawn y brenin yn dduw am fis; a mynwn ddeddf yn rhwymo i fwrw i ffau y llewod pwy bynag a weddio ar arall am ddeng niwrnod ar hugain. Pe gallem wybod pa bryd y bydd y brenin yn ddarn-meddw, a myned ato y pryd hyny, byddai yn fantais i ni.

RHAGLAW. Awn at y brenin heno; clywais ei fod wedi yfed yn drwm neithiwr

TYWYSOG. Darius frenin, bydd fyw byth. Yr ydym wedi meddwl am dy wneud yn dduw am fis o'r hyn leiaf; a chael

deddf yn rhwymo taflu i ffau y llewod pwy bynag a weddio ar dduw arall am hyny o amser.

DARIUS. D—, d—, diolch i chwi, foneddigion; yr wyf yn gweled y peth yn rhesymol.

RHAGLAW. A wna y brenin roddi ei law a sel y Mediaid a'r Persiaid wrth y ddeddf?

DARIUS. Dyma fy enw a'r sel; cadwer yr ysgrif yn ofalus, a chyhoedder y ddeddf drwy fy holl deyrnas. Dyged fy mhentrulliad wydraid eto i mi ac i chwithau. Iechyd da, foneddigion; yfwch gyda mi.

TYWYSOG. Dyna y ddeddf wedi ei sicrhau; awn yn awr i wylied ein gelyn. Gwyddom fod ei ystafell weddi yn ochr y palas sydd yn wynebu ar Jerusalem. Awn gyda ein gilydd, a llechwn o dan y ffenestri cyn awr ei foreuol weddi.

RHAGLAW. Dyna efe yn dyfod! Dystawrwydd! Y mae yn agor ei ffenestri fel y byddai yn arfer. Dacw efe ar ei liniau, a thyna efe yn gweddio! Gwna yr un modd ganol dydd a'r prydnawn. Nid yw yn gofalu dim am y ddeddf, er yn gwybod am dani, ac ni cheisia guddio ei hun.

TYWYSOG. Dygwn yn awr y gŵyn at y brenin.

RHAGLAW. O! frenin, oni seliaist ti orchymyn am fwrw i ffau y llewod pwy bynag a weddiai ar yr un duw ond tydi am ddeg niwrnod ar hugain?

DARIUS. Efallai mai do; nid wyf yn sicr pa beth a wnaethum y nosweithiau diweddaf yma.

RHAGLAW. Do, dyma y ddeddf, y mae sel y Mediaid a'r Persiaid wrthi; ac y mae Daniel, un o feibion y gaethglud, yn gweddio ar ei Dduw ei hun dair gwaith bob dydd. Ni wnaeth ddim sylw o'r ddeddf, a rhaid ei fwrw i'r ffau.

DARIUS. Daniel! Daniel! fy mhrifweinidog! Y mae holl ofal fy nheyrnas arno, ac ni bydd modd i mi ei dwyn yn mlaen hebddo. Nid oeddwn yn meddwl y deuai efe i afael y ddeddf. Treuliaf yr holl ddiwrnod i geisio cael rhyw ffordd i'w waredu.

RHAGLAW. Y mae Daniel yn ngafael y ddeddf; a chyfraith y Mediaid a'r Persiaid ydyw, yr hon ni newidir; ac os na rydd y brenin hi mewn gweithrediad, bydd yn chwildroad yn ei deyrnas o'r naill ben i'r llall.

DARIUS. Dyger fy mhrifweinidog yma. Daniel anwyl, darfu i mi yn fy meddwdod a'm diniweidrwydd selio y gorchymyn sydd yn dy fwrw di i ffau y llewod. Dylaswn wybod na buasit yn gwadu dy Dduw; ac yr wyf yn credu

eto y gwna y Duw yr hwn wyt ti yn ei wasanaethu yn wastad dy achub.

TYWYSOG. Y mae y brenin wedi gorfod plygu—y mae Daniel yn y ffau, a'r gareg arno, a sel y brenin a'i dywysogion ar y gareg; a gwae y dyn a'i toro. A dacw y brenin yn ymgilio i'w lys yn athrist.

PEN. Y mae y swper yn barod, fy arglwydd frenin.

BRENIN. Dim swper heno.

PEN. Y mae y telynorion yn yr ystafell, a'r gwin ar y bwrdd.

BRENIN. Dim difyrwch na gwin heno.

PEN. Y mae y gwely yn barod, O! frenin.

BRENIN. Dim cysgu heno. Af at y ffau cyn dydd mewn cryndod a gobaith fod Daniel yn fyw. A wyt ti—, a wyt ti yn fyw, Daniel?

DANIEL. Ydwyf, O! frenin, ac ni chefais noswaith erioed fwy dedwydd na neithiwr. Os oedd llewod un ochr, yr oedd angel yr ochr arall, a'i fraich o dan fy mhen; ac yr oedd genyf gydwybod dawel, o herwydd puredd a gaed ynof gerbron Duw; ac ni wnaethum niwaid o'th flaen dithau, frenin.

DARIUS. Mi doraf y sel fy hunan, a sel y Mediaid a'r Persiaid. Tyred allan, Daniel; ca dy erlidwyr ddyfod yna yn dy le, a cha y llewod wneud fel y mynont â hwy. Sefydlaf addoliad dy Dduw di.

DANIEL. Nid wyf yn gofyn am i ti ddial ar fy ngelynion, a'u plant, a'u gwragedd, na sefydlu fy nghrefydd i; ond mynaf ddangos y tâl fy Nuw i ymddiried ynddo. Gwell i tithau droi ato, O! frenin Darius.

---

## JONAH.

### PEN. I.

*Yn gwrthod myned i Ninifeh.*

ELI. Y mae yr Arglwydd yn gorchymyn i ti, Jonah, fyned i Ninifeh i bregethu.

JONAH. I Ninifeh i bregethu! Nac af fi.

ELI. Paham?

JONAH. Llawer paham. Y mae yn mhell—ganoedd o

filldiroedd oddiyma. A buasai yn well genyf fyned i bob gwlad nag i Assyria—pobl baganaidd, farbaraidd, a nerthol sydd yno.

ELI. Tybiwn fod eu paganiaeth yn rheswm am i ti fyned yno, a thithau yn broffwyd ac yn genhadwr. Y mae Ninifeh—ei chyfoeth, ei heilun-addoliaeth, a'i phuteindra, yn ddiareb; y mae sawyr ei drygioni wedi cyrhaedd y nef. Mae yno *fil o filoedd* o eneidiau yn carlamu tua damnedigaeth. Pa le y gallai cenhadwr gael maes llafur mor bwysig?

JONAH. Wel, pa beth raid i mi bregethu?

ELI. Rhaid i ti lefaru yn ei herbyn hi.

JONAH. Myfi lefaru yn ei herbyn hi! na wnaf. Y mae arnaf ofn. Y maent yn bobl ryfelgar a medrus am drin bwa. Pa reswm i un fel myfi fyned i bregethu yn erbyn lle y mae miliwn o drigolion fel hyn? Byddent mor sicr o fy lladd ag i mi agor fy ngenau. A phe y pregethwn yn ei herbyn, ac iddynt edifarhau, efallai y maddeuai Duw iddynt: y mae efe mor feddal; ac yna disgynai yr holl warth ar fy nghefn i.

ELI. Y mae Duw yn gorchymyn i ti fyned, ac yn dweyd y daw efe gyda thi.

JONAH. Nac af fi ddim.

ELI. Nid wyf yn meddwl y gedy yr Arglwydd lonydd i ti. Canys pwy a ä drosto yn genhadwr at bechaduriaid, os gwrthoda ei broffwyd ef ei hun fyned?

JONAH. Os na chaf lonydd, mi ddiangaf oddi ger bron yr Arglwydd.

ELI. Pa le y mae y fan hòno, druan? A glywaist ti neb yn dweyd, "Os dringaf i'r nefoedd, yno yr wyt ti; os cyweiriaf fy ngwely yn uffern, wele di yno. Pe cymerwn adenydd y wawr, a phe trigwn yn eithafoedd y môr, yno hefyd y'm tywysai dy law, ac y'm daliai dy ddeheulaw?" Y mae y Duw yna yn dweyd y rhaid i ti fyned i Ninifeh.

## PEN. II.

### *Yn ffoi i Tarsis.*

JONAH. Yr wyf finau yn dweyd nad af fi ddim. Mi gychwynaf y boreu yma i ffoi i'r ochr bellaf oddiwrth Ninifeh. Y mae arnaf awydd myned i Tarsis, yn Affrica. Byddaf yn ddigon pell o Ninifeh yno. Af i Joppa i gy-

meryd llong. Y mae yno rai bob wythnos yn hwylio dros For y Canoldir. Ffarwel i ti, Eli.

ELI. Ffarwel, Jonah; ond gwybydd y goddiwedda dy bechod di.

JONAH. Bore da, Cadben; ydych chwi yn arfer mordwyo i Tarsis yn Affrica?

CADBEN. Yr ydym yn cychwyn yno bore yfory.

JONAH. Pa faint fydd raid i mi dalu am ddyfod gyda chwi?

CADBEN. Beth all fod dy neges? pe byddai yn iawn gofyn.

JONAH. Ni waeth am hyny. Pa faint yw y llong-lôg?

CADBEN. *Deg sicl.*

JONAH. Dyma y deg sicl.

CADBEN. Gofala am fod ar fwrdd y llong erbyn y drydedd awr.

JONAH. Byddaf yn sicr o fod.

CADBEN. Bore da, lanciau. Y mae yn ddiwrnod braf, ac y mae yr awel o'n tu. Codwch yr angorau, gollyngwch y rhaffau, a lledwch yr hwyliau. A ydyw y llanc sydd yn myned i Tarsis yma? O, ydyw. Yn awr, fechgyn, gadawer i ni gael *Dymuniad y Morwyr* wrth hwylio:—

O! anadled yr awelon
    O du ein llong;
Nes bo'n llawn yr hwyliau gwynion,
    Uwchben ein llong:—
A thra byddom yn myn'd heibio,
Wyneb teg y môr ddysgleirio,
A phob tòn yn dawel lecho
    O dan ein llong.

## PEN. III.

*Yn ymguddio rhag y dymestl.*

JONAH. Gwelaf dremwedd o fynyddau rhyngom a'r dwyrain. Pa rai ydynt, Cadben?

CADBEN. Oddiwrth y rhai yna yr ydym wedi dyfod. Dyna fynyddoedd Lebanon.

JONAH. Ond y mae yna ryw dir o'r ochr aswy i ni. Pa beth yw hwna?

CADBEN. Dyna ynys Cyprus. Ond drwg genyf dy hysbysu fy mod yn gweled arwyddion tymestl, ac y mae yn agos! Gwelais adar y drychin yn hedeg tua'r làn i lechu;

ac a weli di y carpiau cymylau acw? Y mae y rhai yna yn arwydd fod tymestl yn ymyl.

JONAH. Yr wyf yn gweled yr arwyddion; ac y mae y cymylau yn llaesu, yn tewychu, ac yn duo.

CADBEN. Dyna fellten! dyna daran! Dyna fellten fwy! dyna daran fwy! Y mae y gwynt yn chwibanu—y mae yn rhuthro! Dacw dòn fawr yn codi! a dacw un arall yn ei dilyn! Dyna y ddwy dros y llong!

JONAH. Y mae arnaf ofn. Af i lechu.

CADBEN. Aed yr ymfudwyr o'r ffordd; a deued y dwylaw oll i'r bwrdd. Tynwch i lawr yr hwyliau, fechgyn. Trowch ben y llestr i'r gwynt. Bwriwch yr angorau.

MORWR. O, feistr! y mae y dymestl yn cryfhau, a'r tònau yn myned fwyfwy. Yr ydym weithiau ar eu brigau, ac weithiau o dan eu gwreiddiau: mae ein holl ddoethineb wedi pallu, ein henaid wedi toddi ynom gan flinder a dychryn.

CADBEN. Bwriwch ddodrefn y llong i'r môr. Pa le y mae y Jonah hwnw?

MORWR. Och! fy meistr! Dyna fellten! dyna daran! Dyna bwff o wynt! Dyna dòn! dacw un arall fwy! Och! Och! Y mae yr hwylbren wedi tori! yr angorau wedi gollwng! y bâd wedi ei ysgubo i'r môr! Ydyw, y mae y llong yn dryllio! O! ein duwiau! pa beth a wnawn?

CADBEN. Ni feddwn ni ddim i'w wneud ond gweddio. Llefed pawb ar ei dduw. O! ser, gwaredwch ni! O! leuad! O! haul! O! Baal! O! Diana! O! Astaroth! Gwareded rhai o honoch ni! Ond pa le y mae y Jonah hwnw? A oes ganddo ef yr un Duw, tybed?

MORWR. Y mae efe yn cysgu yn ystlys y llong!

CADBEN. Na, ni choeliaf fi fod neb yn cysgu ar y fath noson: cymeryd arno y mae. Ond awn ato. Pa le y mae?

MORWR. Dyma fe, meistr. Y mae yn chwrnu.

CADBEN. Wel, ydyw, yn enw Astaroth, y mae yn cysgu! Pa beth a ddarfu i ti, gysgadur? Y mae yn ystorm fwyaf a deimlwyd erioed, a thithau yn cysgu! Yr ydym yn dysgwyl bob eiliad gael ein claddu yn y dyfnder, ac yr wyt tithau yn cysgu! A oes genyt ti yr un Duw, gysgadur? Os oes, galw arno. Efallai yr ystyr y Duw hwnw, fel na'n coller.

JONAH. Oes, y mae genyf fi Dduw; ac a dweyd——.

MORWR. Yr wyf fi yn meddwl, meistr, fod y cysgadur yna wedi digio ei Dduw, ac mai dyna achos yr ystorm. Yr

ydym oll yn meddwl y byddai yn well bwrw coelbren, fel y ceir gwybod pa le y mae y drwg.

Cadben. Da iawn. Ysgrifener enw pob un ar ddarn o bren, a rhodder y darnau mewn cisten. Estynaf finau fy llaw i godi un o'r darnau; a'r neb y bydd ei enw arno, hwnw yw yr euog.

Jonah. Yr ydym oll yn foddlon, a gwell genym i feistr y llong godi y darn. Ac y mae fy Nuw i wedi llywodraethu coelbrenau i benderfynu pethau pwysig ar rai achlysuron.

Cadben. Dyma y pren. Edrycher enw pwy sydd arno.

Morwr. Enw Jonah, y cysgadur, fy meistr.

Cadben. Atolwg, Jonah, dywed pa ddrwg a wnaethost? pa beth yw dy gelfyddyd? o ba le y daethost? a phwy yw dy bobl?

Jonah. Hebread wyf fi. Fy Nuw i yw Arglwydd y nefoedd, yr hwn a wnaeth y môr a'r sychdir. Y mae wedi digio wrth Ninifeh, y ddinas fawr, o herwydd ei hannuwioldeb. Gofynodd i mi fyned i bregethu yn ei herbyn. Dywedais inau nad awn. Rhaid i ti fyned, ebe yntau. Nac af fi, yn wir, ebe finau; a diengais o'i wyddfod. Ar ffo rhag fy Nuw yr wyf fi. Mi dybiais, pan welais y fellten gyntaf, ei fod yn gyru ei genhadau ar fy ol. Ei lais ef yw y taranau yna; ac arnaf fi yr oeddynt yn gwaeddi. O'i ddyrnau ef y mae y gwynt yn dyfod allan; ac efe sydd yn ysgwyd y môr; canys y mae yn dal ei ddyfroedd ar gledr ei law. Yr oeddwn yn ei glywed ef ac yn eich clywed chwithau pan yn ystlys y llong—*cymeryd arnaf* gysgu yr oeddwn. A'r gwir yw, ni waeth i fy Nuw heb alw, nid af ddim i Ninifeh; gwell genyf foddi na hyny.

## PEN. IV.

### *Yn cael ei daflu i'r mor.*

Cadben. Wel, pa beth a wnawn? Yr wyf fi yn meddwl fod dy Dduw di yn penderfynu ein boddi oll, canys y mae y dymestl yn cryfhau. Y mae ein hen long yn gruddfan o dan ei hergydion, ac ychydig yn rhagor a dyr ei holl esgyrn.

Jonah. Teflwch fi i'r môr, ac yna bydd tawelwch; canys gwn mai o fy achos i y mae y dymestl.

Morwr. Na, nid ydym yn foddlon dy foddi di. Deuwch, lanciau, gadawer i ni wneud un ymdrech i rwyfo am y lan; a boed i ni naill ai boddi oll, neu ddianc oll. Och ni!

dyna ruthrwynt! a dyma dònau! Y maent fel mynyddau yn claddu ein llong odditanynt. Yn wir, nis medrwn gael y làn. O! pa beth a wnawn!

JONAH. Rhaid i chwi fy mwrw i'r môr. Yr wyf yn hollol argyhoeddedig nad oes dim arall a heddycha fy Nuw i, ac a lonydda y dymestl.

MORWR. Wel, un ofnadwy ydyw dy Dduw di hefyd pan ddigia! Y mae arnom ni awydd anfon un cais ato, er nad ydym yn ei adnabod. Atolwg, Arglwydd, cymer ni yn esgusodol. Nid ydym yn dy adnabod, ac y mae yn debyg nad wyt tithau yn ein hadnabod ninau. Atolwg, na ddyfetha ni am bechod y gwirion hwn, ac na osoder ni o dan rwymau i'w fwrw i'r môr. Nid ydym am foddi ein hunain, ond braidd na byddai yn well genym hyny na thaflu yr Hebread hwn i'r môr. Y mae arnom ofn y gofynir ei waed ef ar ein dwylaw.

JONAH. Yr wyf fi yn adnabod fy Nuw; ac y mae wedi digio yn y fath fodd fel na lonydda y môr ddim nes i chwi fy mwrw iddo. Dyna y pwff mwyaf eto! Gwna y tònau ysgyrnygu eu danedd.

CADBEN. Yr ydym yn ufuddhau i dy fwrw i'r môr; ond gwyddost y buasai yn well gan y morwyr dy arbed. Gobeithio y dadleui gyda'th Dduw am iddo beidio gofyn dy waed ar ein dwylaw. Ffarwel, Jonah. Yr ydym yn troi draw yn lle edrych arnat yn suddo i'r dyfnder.

JONAH. Ffarwel, O! feistr, y morwyr, a chyd-deithwyr oll. Diolch i chwi am eich cymwynasau, a'ch cydymdeimlad â mi. Er suddo yn y môr, yr wyf yn credu y caf fywyd mewn byd arall. Dylaswn son mwy wrthych am hwnw. Gobeithio y cyfarfyddwn yno. Ffarwel.

CADBEN. Dyna y gwynt yn gostegu, y môr yn llonyddu, a'r tònau yn llechu o dan y dwfr! Y mae yn dyddio! Dacw lecyn goleu ar y wybren! dacw awyr las! dacw haul! Dyma un o'r dyddiau hyfrytaf welodd môr erioed! Ond pa le y mae yr Hebread, druan? Diau ei fod wedi boddi Un ofnadwy yw ei Dduw ef hefyd! Rhaid i ni gofio byth mwy mai gwreichion ei lygaid ef yw y mellt, swn o'i enau ef yw y daran, llif o'i ddyrnau ef yw y gwynt, a dwfr ar gledr ei law yw y môr. Gwell i ni wadu ein holl dduwiau ein hunain, aberthu iddo ef, ac addunedu peidio ei ddigio.

JONAH. (Wrtho ei hun yn y môr). Yr wyf eto yn fyw, feddyliwn! Nid oes neb yn gwybod pa le yr ydwyf, ond y

Duw y ceisiais ddianc oddiarno. Nis gwn fy hunan pa le yr ydwyf o ran hyny. Gwn hefyd fy mod yn eigion y môr. Disgynais i odre y mynyddoedd, y ddaear a'i throsolion sydd o'm hamgylch. Y mae holl dònau a llifeiriant y môr ar fy nghefn! Ond y peth sydd yn rhyfedd i mi yw fy mod heb foddi. Gwyddwn pan yn cymeryd arnaf gysgu yn ystlys y llong fod cenadau y Duw y ceisiais ddianc rhagddo ar fy ol; ond yn awr y maent wedi fy nal yn y fan yma. Nid oes yma neb ond ni ein dau; ac yr wyf finau mewn yspryd gweddi y dyddiau hyn; ni bum felly er's blynyddau o'r blaen. Am hyny y gelwais ar yr Arglwydd, a'm gweddi a ddaeth i mewn i'w deml santaidd, ac efe a'm hatebodd; pan waeddais o fol uffern, efe a glywodd fy llef. Diolch am Dduw nas gellir dianc rhagddo.Ië, diolch am Dduw yn dilyn, nid i ddial, ond i drugarhau, hyd yn nyfnder y môr.

Rhag Ion y meddyliais am ddianc,
At Joppa y rhedais yn syth,
A neidiais i long oedd ar hwylio,
Gan dybio na'm delid i byth;
Cychwynais hyd Fôr y Canoldir,
A'm llygaid yn gywir o hyd
Ar Tarsis, lle cawswn ymguddio
O olwg Creawdwr y byd.

Ond Duw a anfonodd genhadon
A gwarant i'm dal yn mhob lle,
Gorch'mynodd i'r mellt a'r corwyntoedd,
Fy nwyn mewn cadwynau i dre';
Rhedasant gan ofyn fy mywyd,
O'u cyraedd fe'm taflwyd i'r môr,
Ac yno, O! diolch, fe'm daliwyd,
Do, daliwyd fi'n wir gan yr Ior.

"Am fod yr Iesu'n fyw, byw hefyd fydd ei saint,
Er gorfod goddef poen a briw, mawr yw eu braint;
Bydd melus glanio draw, 'nol bod o dòn i dòn,
A rhoddaf ffarwel maes o law i'r ddaear hon."

## PEN. V.

### *Yn cael ei fwrw i dir sych.*

JONAH. Wel, dyma fi ar ddaear sech eto! Pa le yr wyf fi? Ai dyma y byd arall, tybed? Nage; nid yw mor waethed a'r trueni, ac nid paradwys ydyw chwaith. Ai Jonah wyf fi? Os felly, rhaid fy mod wedi myned drwy y

môr i'r ochr arall i'r ddaear. Dyma rywrai yn nesu ataf. Nid ysprydion drwg ydynt, ac nid angylion ydynt. Y maent yn debyg i ddynion: dynion ydynt! Mi welais i un o honynt o'r blaen; yr wyf yn meddwl mai Eli ydyw: ïe, yn wir, Eli ydyw hefyd.

Eli. Ai ti sydd yna, Jonah? Pa le y buost, dywed?

Jonah. Yn wir, ni wn pa le y bum. Wedi i mi ffarwelio â thi, rhedais i Joppa. Yr oeddwn wedi penderfynu dianc oddi ger bron yr Arglwydd. Cymerais long i fyned i Tarsis yn Affrica. Ond tranoeth cododd ystorm na welais i erioed ei bath. Fflachiai y mellt, rhuai y taranau, cynddeiriogai y gwynt, ac aeth y môr fel crochan berwedig. Deallais fod cenadau Duw ar fy ol, a dymunais ar swyddogion y llong fy mwrw i'r môr, a gwnaethant. Yr oedd arnaf eisieu boddi, a rhaid fy mod wedi boddi, canys bum yn ngwaelod y môr. Ai fy hen gyfaill Eli sydd yma, tybed?

Eli. Ië, fy mrawd Jonah.

Jonah. Yn mha fyd yr ydym?

Eli. Yn myd y dynion.

Jonah. Ond yn mha le ar y ddaear yr ydym?

Eli. Yr ydym ar dir Syria.

Jonah. Pa beth ddaeth a fi yma? A ydyw Ninifeh yn mhell?

Eli. Ydyw, ond yr wyt yma yn nes i Ninifeh nag yr oeddit yn y lle y gwelais di o'r blaen. A wyt ti yn foddlon myned yno i bregethu yn awr?

Jonah. A oes ar yr Arglwydd eisieu i mi fyned yno eto?

Eli. Oes.

## PEN. VI.

*Yn pregethu yn Ninifeh.*

Jonah. Ni waeth i mi blygu iddo; ni wrendy arnaf yn dweyd *na;* ac nis medraf ddianc rhagddo. Ond a gaf fi wneud pregeth i mi fy hun?

Eli. Na, O! na chai.

Jonah. Pa beth raid i mi bregethu?

Eli. Yr hen bregeth, sef, "*Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir.*"

Jonah. Wel, nid oes ond boddloni i fyned. Pa faint o ffordd sydd yno?

Eli. Y mae yno ganoedd o filldiroedd, ond deuaf fi i dy hebrwng ran o'r ffordd; yr wyf yn gyfarwydd â hi. Dacw

Ninifeh, y ddinas fawr. Ffarwel, yn awr. Efallai y caf dy weled eto.

JONAH. Ffarwel, Eli. Syndod! Dyma fi yn awr yn Ninifeh, y ddinas fawr, sydd yn 10 milldir o led, yn 20 o hyd, yn 60 o amgylchedd. Ni bu erioed y fath ynfydrwydd a gyru un fel myfi drwy ei heolydd i gyhoeddi cwymp dinas fel hon. Y mae yn amlwg ei bod yn annuwiol iawn; gwelais yn barod eilunaddolwyr, a lluoedd o buteiniaid a meddwon. Pa bwys gan y rhai hyny fyddai lladd creadur fel myfi! Ond nid oes dim i'w wneud, rhaid myned, mae'n debyg, er yn anfoddlon. Ni hoffwn gael fy nhynu drwy For y Canoldir eto. Ding, ding, ding; daliwch sylw,—"*Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir.*" Ding, ding, ding; daliwch sylw,—"*Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir.*" Ding, ding, ding; daliwch sylw,—"*Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir.*"

DINESYDD. Pa beth y mae y dyn yma yn ddweyd?

NINIFEAD. Dywed, "Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir." Y mae er y bore yn cerdded o'r naill heol i'r llall, ac yn cyhoeddi yr un peth â llef uchel.

DINESYDD. Pwy ydyw y dyn?

NINIFEAD. Ni wn i, y mae yn wr dyeithr. Meddyliem ar ei lediaeth mai Iuddew yw o dueddau Canaan.

DINESYDD. Rhaid mai creadur gwallgof ydyw.

NINIFEAD. Na, yn sicr, nid oes golwg dyn gwallgof arno. Traetha ei genadwri yn ddirodres, difrifol, ac awdurdodol. Fy nghred yw ei fod dros ryw dduw. Os Iuddew yw, ac os ydym ninau wedi digio Duw y genedl hòno, gwae ni; canys y mae efe yn Frenin yr holl ddinasoedd, a'r holl ddaear. A Duw *santaidd* ydyw: y mae yn digio wrth afiendid; ac yr ydym ninau yn halogedig iawn. Edrycher ar ein heilunaddoliaeth, ein puteindra, a'n meddwdod!

DINESYDD. Dylai rhywrai fyned a dweyd wrth y brenin. A fyddi di yn genhadwr at y llys?

NINIFEAD. Byddaf fi, os na ellir cael rhywun gwell.

DINESYDD. Nid all fod neb yn fwy cymwys.

NINIFEAD. Gyda chenad y brenin, y mae genyf air i'w ddweyd wrtho.

BRENIN. Traetha; y mae i ti ryddid.

NINIFEAD. Y mae rhyw wr dyeithr wedi bod yn cerdded yr heolydd drwy'r dydd, gan lefain, "Deugain niwrnod fydd eto, a Ninifeh a gwympir."

BRENIN. Ai dyn gwallgof ydyw?

NINIFEAD. Edrycha yn synhwyrol a difrifol iawn; y mae ei lais yn awdurdodol, a hawdd gwybod ar ei lediaeth mai Iuddew ydyw; a chlywsom yr addefa ei fod yn dyfod o dueddau Canaan, a'i fod yn genad i Arglwydd Dduw yr holl ddaear.

BRENIN. Y mae arnaf ofn! y mae ein holl ddinas yn euog! Pa beth a wnawn? Galwaf fy nghynghorwyr. Yr wyf yn penderfynu disgyn o fy ngorsedd, diosg fy mrenhinwisg, gwisgo llian sach, gan eistedd mewn lludw. Ac yr wyf, yn enw fy mhendefigion, yn gorchymyn i bawb drwy y ddinas wneud yr un peth. Ië, yr wyf am i'r anifeiliaid beidio bwyta nac yfed, a boed iddynt hwythau gael eu gwisgo mewn llian sach; canys y mae yn arferiad yn ein gwlad, ar ddyddiau o alar, i wisgo y meirch a'r camelod yn deilwng o'r amgylchiadau. A pha ddiwrnod tebyg i heddyw a welodd Ninifeh erioed! Dymunwu hefyd i bawb weddio, fel y medro, ar Dduw yr Hebreaid; ïe, bydded i ni "alw ar Dduw yn lew." Ac y mae yn rhaid i mi adael fy nrygioni; rhaid i fy mhendefigion wneud hyn; rhaid, rhaid i'r holl ddinas wneud hyn, onide, ni waeth heb weddio; canys clywais i'r Duw hwnw ddywedyd wrth Sodom a Gommorah, "Pan weddiech lawer, ni wrandawaf; eich dwylaw sydd lawn o waed." Ond os gweddiwn, a gadael ein drygioni, pwy a wyr nad edifarha Duw, a throi oddiwrth angherdd ei lid, fel na'n dyfether?

ELI. Wel, Jonah, pa fodd y mae y pregethu yn dyfod yn mlaen?

JONAH. Yr wyf wedi bod wrthi drwy y dydd, ac wedi llefain nes yw fy llais wedi darfod. Y maent wedi gadael fy mywyd i mi; ac yn wir, ni roddodd neb sen i mi. Gwelais hefyd beth arwyddion edifeirwch. Ond o ba le y daethost ti yma, Eli? ac i ba beth?

## PEN. VII.

### *Yn digio wrth drugaredd.*

ELI. Duw a'm danfonodd inau i'r ddinas i ddweyd wrth y Ninifeaid ei fod efe wedi clywed eu gweddi, a gweled eu bod wedi gadael eu ffyrdd drygionus. Y mae efe wedi edifarhau son am eu dinystrio, ac yn dweyd na wna eto.

JONAH. Taw, Eli.

ELI. Ydyw, yn wir.

JONAH. A minau wedi bod yn pregethu fel arall drwy y dydd! Yn wir, yr wyf wedi digio wrth yr Arglwydd. Dywedais i mai fel hyn y gwnai. Mi wyddwn ei fod ef yn Dduw graslawn, hwyrfrydig i ddig, aml o drugaredd, ac edifeiriol am ddrwg; dyna paham yr achubais flaen i ffoi i Tarsis. Bydd yr holl ddinas yn llefain, *Celwyddwr* ar fy ol. Nid oes reswm mewn peth fel hyn. O! Arglwydd, lladd fi; canys gwell i mi farw na byw!

ELI. Na, Jonah; er fod yr Arglwydd wedi gwrando gweddi y Ninifeaid, ni wrendy dy weddi di; nid yw am dy ladd di; ac y mae yn gofyn a wyt ti yn ddig iawn wrtho?

JONAH. Dig iawn! ydwyf. Gwnaf fwthyn i mi fy hun yn ochr y ddinas, llechaf ynddo rhag gwres yr haul, ac arosaf yno i weled pa beth a ddaw o Ninifeh; prin yr wyf yn credu yr arbedir y lle eto. Na, na, Eli sydd wedi breuddwydio; nid yw yr Arglwydd mor gyfnewidiol a hyn chwaith; canys mi glywais ei fod "ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Ond pa beth yw yr eginyn yma sydd yn dangos ei ben wrth fy nghaban i? Y mae yn debyg i eginyn cicaion. Y mae hwn yn tyfu yn gyflym. Mi a'i gwelaf ef yn tyfu!

ELI. Ai yma yr wyt ti eto, Jonah?

JONAH. Ië. Ni welais i erioed y fath beth a'r cicaion yma! Y bore, yr wyt yn cofio, yr oedd yn eginyn, ond y mae yn awr yn gorchuddio fy holl gaban. Y mae ei ddail yn ysblenydd i'm cadw rhag y gwres; yr wyf yn hoff o hono, ac yn llawen oddidano.

ELI. Y mae yn dlws; a dengys ofal yr Arglwydd am danat.

JONAH. Ydyw; cysgais yn ddedwydd oddidano neithiwr. Ond Och! pa beth sydd ar fy nghicaion heddyw? Ymddengys ei fod yn sal; y mae ei ddail yn gwywo; ei bwls yn llesgau; ydyw, y mae yn marw! Pa beth a'i lladdodd? Y pryf, y pryf; dacw efe wrth ei wraidd; yn mhell y byddo ei ddanedd gwenwynig ef! Wel, y mae yr Arglwydd yn gas wrthyf, ac yn fy erlid yn ddireswm. Pan aethum i'r môr, gyrodd y gwynt ar fy ol; pan aethum i'r ddinas i bregethu yn ei herbyn, gyrodd drugaredd ar fy ol, ac Eli ar ol hyny; pan aethum o dan fy mhren deiliog, tlws, gyrodd yr hen bryf melldithiol yma ar fy ol. Dacw yr haul yn codi, y mae yn debyg o wneud diwrnod tesog, a

minau heb ddeilen i'm cysgodi. Och! y mae yr haul yn taro ar fy mhen, ac yr wyf yn sal.

## PEN. VIII.

*Yn cwyno am ei gicaion.*

ELI. O, bobl! y mae Jonah wedi ei daro gan yr haul. Arafa a gwanha curiadau ei galon; y mae yn llewygu. Eneinier ei arleisiau, cynhalier ef â photelau. Dyna, y mae yn dadebru; dywed rhywbeth yn ddystaw.

JONAH. O! na chawn i farw! Gwell i mi farw na byw! Y mae y nef mor gased ag y medr wrthyf.

ELI. Taw, Jonah bach, a son am farw fel yna. Y mae yn bleser clywed dyn mewn teimladau nefolaidd yn dymuno marw, ac yn dweyd, "Gollwng dy was mewn tangnefedd;" neu, "Y mae arnaf chwant i'm datod;" ond nid dyma dy ysbryd di; gwr mewn natur ddrwg wyt ti, yn bytheirio cabledd yn erbyn y nef. Y mae Duw yn gofyn, A wyt ti yn ddig iawn, Jonah?

JONAH. Ydwyf, yn wir, yn ddig iawn; yn ddig iawn hyd angeu, ac ni waeth genyf pwy a'i gwyr. Nid oes dim trefn ar ymddygiadau rhagluniaeth tuag ataf.

ELI. Y mae yr Arglwydd yn peri i mi geisio ymresymu â thi fel hyn. Nid oeddit ti yn foddlon i golli y cicaion, ai oeddit ti? Ni lafuriaist i'w fagu, ac ni chefaist ei gwmni ond am ychydig oriau: "mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu." Ond nid wyt yn foddlon iddo ef arbed y ddinas fawr. Cafodd ef lawer o drafferth gyda hòno. Y mae yn gwylio gwely pob un o'i thrigolion bob nos, ac y mae yno rai wedi iddo wylio eu gwelyau filoedd ar filoedd o nosweithiau, ac ymweled â hwy filoedd ar filoedd o foreuau. A ydyw yn dda genyt ti blant, Jonah?

JONAH. Ydyw, yn ganolig.

ELI. Wel, y mae yn Ninifeh gant ac ugain o filoedd o'r rhai hyny, na wnaethant ddrwg erioed. Ni wyddant ragor rhwng y llaw dde a'r aswy. A phe dyfethid hwy, ni wyddent am ba beth. A wyt ti yn anfoddlon i arbed y rhai hyny, ddyn?

JONAH. Ni wn i ddim. Ond paham y parodd yr Arglwydd i mi fyned i bregethu yn ei herbyn hi?

ELI. Gofyna y Creawdwr tirion i ti, Jonah, a yw yn dda genyt anifeiliaid?

JONAH. Ydyw, y mae yn dda genyf geffylau, a gwartheg, a defaid.

ELI. A ydwyt ti yn anfoddlon iddo arbed y rhai hyn? A weli di mo honynt ar y parciau sydd yn nghanol y ddinas?

JONAH. Wel, ïe; ond i ba beth y parodd efe i mi bregethu yn erbyn Ninifeh, a thori fy ngair i fel yna?

ELI. Os arbed yr edifeiriol wyt yn ei alw yn dori gair, y mae Duw yn tori ei air ei hun; ac y mae ei air ef, 'does bosibl, yn fwy pwysig na dy air di.

---

## TORI Y DEED AC YSGYMUNO.—IOAN IX.

### PEN. I.

UNDEBWR. Y mae ein Synagogau ni wedi eu hadeiladu i ddysgu *Iuddewiaeth:* un o egwyddorion cyntaf gonestrwydd yw eu cadw i'r dyben hyn; ac yr ydym ni, aelodau y Sanhedrim, yn hunanetholedig i ofalu am hyny.

ANNIBYNWR. A oes rhywun wedi dyfod ag egwyddorion newyddion i'r byd?

UNDEBWR. Oes, un Iesu o Nazareth. Y mae yn dysgu pethau hollol wahanol i'n cyffes ni, sydd yn y deed; ac wrth ei fod yn cymeryd arno wneud gwyrthiau, y mae dylanwad mawr ganddo.

ANNIBYNWR. Pa wahaniaeth sydd rhwng egwyddorion Iesu o Nazareth â chyffes y deed?

UNDEBWR. Y mae yr hen gyffes yn dweyd, "Tâl dy lwon i'r Arglwydd;" ond y mae Iesu yn dweyd, "Na thwng ddim; eithr bydded eich ïe chwi yn ïe, a'ch nage yn nage." Mae y gyffes yn dweyd, "Llygad am lygad, a dant am ddant;" ond y mae Iesu yn dweyd, "Pwy bynag a'th darawo ar dy rudd ddehau, tro y llall iddo hefyd." Y mae y gyffes yn dweyd, "Câr dy gymydog, a chasâ dy elyn;" ond mae Iesu yn dweyd, "Cerwch eich gelynion." Ac y mae Iesu yn dweyd fod y swydd offeiriadol wedi darfod.

ANNIBYNWR. A ydyw Iesu yn dweyd yn erbyn y deg gorchymyn?

UNDEBWR. O! na, y mae yn canmol ac yn manwl gadw y rhai hyny, oddieithr y pedwerydd: prin y ceidw efe y Sabbath bob amser, os byddai rywun eisieu trugaredd. Ond y mae ei gyffes yn hollol wahanol i ddeed y Synagogau; a rhaid i ni ofalu am egwyddor gyntaf gonestrwydd, drwy eu

cadw i'r dyben yr adeiladwyd hwy. A gwaeth na'r cwbl yw, y dywed Iesu fod y swydd offeiriadol ar ben; ac yr ydym ni, yn ein cyfarfod Undeb diweddaf, wedi penderfynu ei ysgymuno, ac ysgymuno pawb a'i harddelant.

ANNIBYNWR. Y mae un o aelodau y Synagog yn awr yn galw am ddysgyblaeth.

UNDEBWR. Pa un?

ANNIBYNWR. Y dyn dall fyddai yn eistedd ac yn cardota wrth borth y deml. Y mae efe yn awr yn gweled, ac yn dweyd mai Iesu o Nazareth roddodd ei olwg iddo.

CYMYDOG. Ai nid hwna fu drwy ei oes yn eistedd ac yn cardota?

ARALL. Hwna yw efe.

ARALL. Y mae efe yn debyg iddo.

Y DYN. Myfi yw efe.

CYMYDOG. Pa fodd yr agorwyd dy lygaid di?

Y DYN. Un a elwir Iesu a wnaeth glai, ac a irodd fy llygaid i, ac a ddywedodd, Dos i lyn Siloam ac ymolch; ac wedi i mi ymolchi, mi a gefais fy ngolwg.

CYMYDOG. Pa le y mae y dyn?

Y DYN. Ni welais i mo hono ef na neb arall erioed o'r blaen, ac ni welais ef ar ol hyny.

UNDEBWR. Twyll i gyd; ac y mae yr Undeb yn penderfynu chwilio y mater. Dyger y dyn at fainc y Sanhedrim.

PHARISEAD. Pa fodd y cefaist ti dy olwg?

Y DYN. Clai a osododd efe ar fy llygaid i, a mi a ymolchais, ac yr ydwyf yn gweled.

PHARISEAD. Agorodd yr Iesu ei lygaid ef ar y Sabbath? Rhaid gan hyny mai pechadur yw.

ARALL. Pa fodd y gall dyn pechadurus wneud y cyfryw arwyddion?

ARALL. Pa fodd?

ARALL. Ië, pa fodd?

UNDEBWR. Peidiwch cwympo allan. Gadawer i ni gael gwybod beth yw barn y dyn ei hun am dano:

## PEN. II.

PHARISEAD. Beth wyt ti yn ddweyd am dano?

Y DYN. Proffwyd yw.

PHARISEAD. Daeth i'm meddwl y fynyd yma fod dichell yn cael ei chware—y dyn dall wedi ei guddio, a rhywun tebyg iddo wedi ei ddwyn yma.

Undebwr. Ië, dywedai rhai o'r cymydogion mai "tebyg" iddo ydoedd. Byddai yn well holi y rhieni— y maent hwy yn aelodau o'n Synagog ni.

Pharisead. Ai hwn yw eich mab chwi, a anwyd yn ddall? Pa fodd y mae yn gweled yn awr?

Mam. Ië, hwn yw ein mab ni, ac yn ddall y ganwyd ef; ond pa fodd y mae yn gweled yn awr, nis gwyddom ni. Mae efe mewn oedran, gofynwch iddo ef; efe a ddywed am dano ei hun.

Annibynwr. Y mae y fam yn dweyd gwir, ond nid yr holl wir. Gwyddai hi a'i phriod pwy a agorasai ei lygaid ef, ond gwadent hyn rhag cael eu hysgymuno; canys peth ofnadwy yn ngolwg pobl dywyll oedd ysgymuno.

Pharisead. Dywed, ddyn, o ddifrif, ai y pechadur a elwir Iesu roddodd y llygaid yna i ti?

Y Dyn. Ai pechadur yw, nis gwn i; ond un peth a wn i —yr oeddwn yn ddall, ac yr wyf yn awr yn gweled.

Pharisead. Dywed i ni pa fodd yr agorodd efe dy lygaid di.

Y Dyn. Mi a ddywedais i chwi o'r blaen, ac ni wrandawsoch. Paham yr ydych yn ewyllysio clywed drachefn? Ydych chwithau am fod yn ddysgyblion iddo ef?

Pharisead. Taw, y peth digywilydd! dysgyblion Moses ydym ni. Ni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses, a'i gyffes ef sydd yn need ein Synagogau oll; ond ni wyddom ni o ba le y daeth y dyn hwn.

Y Dyn. Mae yn rhyfedd na wyddoch o ba le y daeth, ac efe a agorodd fy llygaid i, a minau wedi cael fy ngeni yn ddall! Rhaid ei fod o Dduw, onide, ni allasai wneuthur hyn.

Pharisead. Taw, y peth aflan! wedi ei eni mewn pechod, ac yn cymeryd arno ein dysgu ni! Ac yn awr, teulu yr Undeb, beth wneir iddo?

Undebwyr. Ysgymuner, ysgymuner ef. Mae egwyddorion cyntaf gonestrwydd yn galw am hyn; canys nid i bregethu egwyddorion Iesu o Nazareth yr adeiladwyd y Synagogau; nid dyna sydd yn y deed; ysgymuner ef ar ol ei athraw; ac y mae ei rieni yn haeddu eu hysgymuno, am ei fagu, ac na buasent yn tyngu nad efe oedd eu mab.

Iesu. Wel, gyfaill, y mae yr Undebwyr wedi dy ysgymuno o'u Synagogau ar sail eu deed; yr wyt ti a minau yn awr ar yr un tir; a wyt ti yn credu yn Mab Duw?

Y Dyn. Pwy yw efe, fel y credwyf ynddo? Dall fum i

drwy fy oes. Daeth rhyw broffwyd heibio i mi, gwnaeth glai, irodd ef ar fy llygaid i; aethum ar ei gais i lyn Siloam i ymolchi, a chefais fy ngolwg; ac ni wn i yn y byd i ba le yr aeth y proffwyd hwnw; a thyna gymaint o freintiau crefyddol gefais i.

Iesu. Yr un a weli di â dy lygaid newydd, â'r hwn sydd yn ymddyddan â thi, yw y proffwyd hwnw.

Y Dyn. Yr wyf yn credu, O! Arglwydd, ac yn dy addoli. Yr wyf yn gobeithio cael bod gyda thi byth i ddiolch am ddau bâr o lygaid—un i'r corff, a'r llall i'r enaid; un i weled pethau naturiol, a'r llall i weled pethau ysprydol.

Annibynwr. Pwy na ddiolchai am fod yn ysgymunedigion hen ddeedau? Diau fod cyffes a deed Moses yn haeddu mwy o barch na chyffes a deed John Calfin; ond daeth oddiwrth Dduw fwy o oleuni ar drefn achub nag a feddai y ddwy. Y mae deed Synagogau yr Iuddewon wedi medru cadw Cristionogaeth allan o honynt, ond ni chadwodd Fahometaniaeth. Gelyn gwirionedd yw pob math o gyffes mewn deedau, ond croesawant bob math o dwyll, a rhagrith, a thrais.

---

## ANGAU YN Y TY A IESU ALLAN.

### Ioan xi.

Lazarus. Fy anwyl chwiorydd, yr wyf yn teimlo yn glaf, ac yn lled sicr fod angau wedi ymaflyd ynof. O! na buasai Iesu yma.

Mair. Gwn i pa le y mae, ac anfonwn am dano. Brysia, John y gwas, dos at yr Iesu y tu hwnt i'r Iorddonen, a dywed fod ei gyfaill Lazarus o Bethania yn sal iawn. Brysia yn dy ol.

John. Athraw, y mae dy gyfaill Lazarus o Bethania yn glaf iawn; ac y mae efe a'i chwiorydd yn dymuno dy weled.

Iesu. Nid yw y clefyd i farwolaeth: y mae amcan arall iddo; cerdd yn dy ol.

Mair. A welais di yr Iesu, John? a pha beth a ddywedodd efe wrthyt?

John. Do, gwelais ef; dywedodd nad oedd y clefyd i farwolaeth, a gorchymynodd i mi fyned yn fy ol.

Mair. A ddywedodd efe ddim y deuai yntau hefyd?

JOHN. Naddo, fy meistres.

MARTHA. Nid oeddwn yn meddwl y buasai efe yn ymddwyn fel yna atom ni a'n brawd. Y mae Lazarus yn marw! Y mae wedi marw!!

IESU. (Wrth ei ddysgyblion). Clywsoch John yn dweyd fod ein cyfaill Lazarus yn glaf; y mae yn awr wedi huno.

THOMAS. Arwydd dda yw fod y claf yn huno; y mae yn troi i wella, gobeithio.

IESU. Na, y mae wedi huno yn angau; ond awn ato ef.

THOMAS. Gwell i ti beidio. Pan oeddit yno o'r blaen darfu i'r Iuddewon geisio dy labuddio; ac os ai yno eto, byddant yn sicr o dy ladd di.

IESU. O! na, ni laddant fi; ni ddaeth fy awr i eto.

THOMAS. Wel, os ai i Judea, deuaf finau a'r dysgyblion eraill hefyd, canys gwell genym gael marw gyda thi.

IESU. Awn gyda ein gilydd; ond arosaf fi cyn myned yn hollol i Bethania.

JOHN. O! fy nwy feistres, clywais fod Iesu yn y gymydogaeth.

MARTHA. Ni waeth iddo heb ddyfod bellach: y mae fy mrawd wedi ei hen gladdu. Ond myfi a af ato ef.

MAIR. Yn wir, nid af fi ato; yr wyf yn rhy ddigalon. Arosaf yma i wylo gyda'r cyfeillion sydd wedi dyfod i edrych am danom.

MARTHA. Iesu anwyl, paham na ddaethost yma pan ddarfu i ni ddanfon am danat? pe daethet, ni buasai fy mrawd farw.

IESU. Adgyfodir dy frawd eto.

MARTHA. Gwn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad y dydd diweddaf.

IESU. Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd, a medraf fi ei adgyfodi pan y mynwyf.

MARTHA. Gwrando, fy chwaer Mair; fe ddaeth yr Athraw, ac y mae yn galw am danat.

MAIR. Esgusodwch fi, gyfeillion, am enyd.

IUDDEW. I ba le yr aeth hi, tybed?

ARALL. Aeth at y bedd i wylo.

JOHN. Na, aeth tua'r man y bu Martha yn siarad â Iesu.

IUDDEW. Awn ar ei hol; dacw hi ar ei hwyneb wrth draed yr Iesu.

MAIR. Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai fy mrawd farw. Paham na ddaethost ti?

IUDDEW. Y mae Mair yn wylo! a'r Iuddewon yn wylo! Ydyw, y mae yr Iesu yn wylo! Hy, hy, hy! O! fel yr oedd efe yn caru Lazarus.

IESU. Pa le dodasoch chwi y corff?

MARTHA. Yn meddrod y teulu y fan acw; dacw yr ogof a'r maen arno.

IESU. Awn at y bedd; gweddiwn. Y Tad, yn dy enw di y byddaf yn gwneuthur gwyrthiau. Yr ydwyt wedi arfer fy ngwrando; ac yr wyf yn dymuno am i ti fy ngwrando heddyw. Gwrando fi er mwyn cael Lazarus eto yn fyw—er mwyn ei ddwy chwaer sydd yn mron tori eu calonau—ac er mwyn cryfhau ffydd yr edrychwyr yma ynof fi. Bydd hyny yn fanteisiol i dy achos mawr di. Cyfodwch y maen.

MARTHA. Iesu anwyl, gad ef yn llonydd; y mae arnaf fi ofn ei weled; rhaid ei fod yn arogli yn drwm, canys y mae yr hinsawdd yn gynes, ac y mae wedi marw a'i gladdu er's pedwar diwrnod.

IESU. Oni ddywedais wrthyt, Martha, pe credit, y cait ti weled gogoniant Duw? Cyfodwch y maen.

IUDDEW. Dyna y maen wedi ei gyfodi, Arglwydd.

IESU. LAZARUS, tyred allan.

IUDDEW. Ni chlywais erioed y fath floedd! ac mewn moment dacw yr hwn a fuasai farw yn dyfod allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylo mewn amdo, a'i wyneb wedi ei rwymo mewn napcyn. Gwyddom bellach y gall y "meirw glywed lleferydd Mab Duw, a'r rhai a glywant a fyddant byw."

IESU. Gollyngwch ef yn rhydd, gadewch iddo fyned.

IUDDEW. Dacw Lazarus yn myned i'r ty rhwng ei ddwy chwaer, a'r Iesu a'i ddysgyblion yn eu dilyn!

MAIR. Gwelsom y teulu lawer gwaith yn gwahodd eu cyfeillion i ddyfod i'r ty i'w cysuro; ond ni welsom yr hwn a gladdesid yn mhlith y gwahoddedigion erioed o'r blaen.

IUDDEW. (Wrth y Phariseaid). Y mae yr Iesu wedi adgyfodi ei gyfaill Lazarus, ac y mae efe yn awr gyda ei ddwy chwaer yn y ty, mor iached ag y bu efe erioed.

PHARISEAD. Y mae efe! Wel, archoffeiriaid anwyl, pa beth a wnawn! Rhaid gwneud rhywbeth i'r dyn, onide, ä y byd ar ei ol, a bydd pawb yn ein diystyru ninau; ac ni ryfeddwn pe deuai y Rhufeiniaid yma, a'n hysgubo oddiar wyneb y ddaear.

CAIAPHAS. Myfi yw cadeirydd yr undeb y flwyddyn hon,

a'm cynghor i yw, i ni ymofyn am ryw ffordd i'w roddi i farwolaeth.

PHARISEAD. Hwre, hwre, hwre! Yr ydym oll yn cyd-synio â'r cadeirydd. Croger ef; a cheisied pawb gyfle i'w ddal, a bydd gwobr i bwy bynag a'i deil.

THOMAS. Iesu anwyl, y maent am dy ddal a dy ladd; gwell i ti a ninau ymgilio oddiyma, ac ymguddio.

IESU. Wel, deuaf i'r wlad, i ddinas a elwir Ephraim, sydd yn nghanol yr anialwch, ac myfi a ymguddiaf yno.

PHARISEAD. Y mae gwyl y Pasg yn ymyl: ä yr holl wlad yno i gymanfa yr offeiriaid; awn ninau, a cheisiwn ei ddal, er mwyn ennill y wobr.

IUDDEW. A ddaliwyd ef?

PHARISEAD. Naddo, ni ddaeth i'r wyl, ac y mae pawb yn synu.

IUDDEW. Rhaid ei fod wedi clywed ein bod am ei ddal; canys y mae ganddo ffrindiau, ond eu bod yn rhy wangalon i ddangos eu wynebau i ni.

---

## YR AFRADLON.—LUC XV.

### PEN. I.

TAD. Bore da, Er. Dyma amser braf i godi! Y mae o fewn dwy awr i haner dydd. Y mae dy frawd a minau ar ein traed er's oriau. Buom yn rhoddi tro am y defaid a'r gwartheg; daethom adref wedi hyny, a chawsom flas ar ein boreufwyd. Am faint o'r gloch y daethost adref neithiwr? Blinais i yn aros. Gweddiais drosot, ac aethum i'r gwely. Yn wir, fy mhlentyn, ni ddaw dim daioni o beth fel hyn. Dylit tithau ymaflyd mewn rhyw orchwyl.

ER yn troi ei drwyn, yn rhwbio ei lygaid, ac yn agor ei geg.

TAD. Yr wyt heb ddeffro yn iawn eto, mi welaf.

ER. Myfi ymaflyd mewn gorchwyl, a chan fy nhad ddigon o fodd i fy nghadw! na wnaf byth. Os caf fi fy rhan a ddygwydd o'r da, mi af fi oddiyma. Yr wyf fi wedi hen ddiflasu.

TAD. Pa beth sydd genyt yn erbyn dy gartref, fy machgen i?

ER. Y mae genyf lawer o bethau. Mewn gair, nid oes

yma ddim wrth fy modd. Nid wyf yn hoffi bwyd y teulu. Dylem gael mwy o ddanteithion; mwy o win wedi ciniaw; a mwy o wirod wedi swper. Ond y mae rheolau y teulu yn gasach genyf na'r ymborth. Nid wyf yn hoffi yr awr godi. Rhai caeth yw y rheolau i fod gartref y nos erbyn 9, uno gyda'r teulu mewn addoliad, a bod yn fy ngwely cyn 11. Dyna fab y ty nesaf, y mae efe yn cael dyfod adref pan y myno, ac yn y cwmni a'r llun y myno. Os bydd ef yn feddw, a benyw yn mhob braich iddo, nid oes neb a ddywed ddim yn ei erbyn. Aethum gydag ef neithiwr i'r gin palas, yna i'r chwareudy, wedi hyny i'r fan a'r tan, ac ar ol y cwbl yr oeddwn yn fy ngwely erbyn codiad haul. Ni fedraf ddyoddef i ti, fy nhad, awgrymu y dylwn i ymaflyd mewn gorchwyl, a minau yn ŵr bonheddig—"Dyro i mi y rhan a ddygwydd o'r da," ac mi a af ymaith.

TAD. Yn ei ewyllys wrth farw, y mae tad yn rhanu ei etifeddiaeth, oddieithr ei fod yn rhoddi cynysgaeth i rai o'i blant ar ddydd eu priodas. Nid yn aml y clywyd am lencyn fel ti, yn hawlio ei ran i fyned allan i grwydro. Ond efallai y byddai yn well i ti gael dy ffordd, a bod yn wialen arnat dy hun. Y mae arnaf ofn na ddeui byth i werthfawrogi dy gartref nes ei golli. "Diystyraist fy holl gynghor i, ac ni fynit ddim o'm cerydd." Pa faint o'r da wyt yn ddysgwyl?

ER. Y drydedd ran.

TAD. O, ac yr wyt ti yn hawlio cymaint a dy frawd a minau, er mai ni drwy ein gofal, ein diwydrwydd, a'n llafur, gasglodd y cwbl; ac na wnaethost ti ddim erioed ond segura a gwastraffu? Wel, yr ydym wedi cael ein prisio yn *dair mil o bunau.* Y mae hyny dros *naw* mil o arian Prydain. A dyma i ti un fil. A ydwyt ti ddim yn diolch am danynt?

ER. Diolch! nac wyf fi; fy rhan i ydynt. Ac yn wir, fy nhad, y mae yn ysmala genyf dy glywed yn awgrymu na fedraf drin fy eiddo, ac y byddaf yn wialen arnaf fy hun. Ffarwel, nhad. Dacw fy mrawd Esau gyda'r gweision yn y buarth,—Ffarwel i ti, Esau; ffarwel i chwithau, fechgyn; ffarwel, Neli, a'r holl ferched;—ffarwel, nhad, unwaith eto. Paham yr wyt yn troi draw fel yna wrth ysgwyd llaw?

TAD. Rhyw ddeigryn bach ddaeth i fy llygaid i, ac i sychu hwnw yr oeddwn i yn troi draw. A phe buasit ti yn gallu gweled a chlywed, yr oedd fy nghalon i hefyd yn troi ynof, ac yn dywedyd, "Pa fodd y'th roddaf ymaith?" A

pha fodd y'th roddaf i fynu?—ffarwel, fy mhlentyn anwyl i. Af fi i'm hystafell i weddio drosot ti, ac yna i'r gwely.

Er. (Wrtho ei hun). Ffarwel, nhad. Dyma fi yn ddyn rhydd, a mil o bunau yn fy llogell. Ni ddarfyddant byth; ac mi ddangosaf i'r byd y medraf drin arian. I ba le yr af heno? Af i geisio ychydig win beth bynag. Waiter—gwydraid o gwrw. He! gwydraid o win eto. I ba le nesaf? O, i'r chwareudy. Y mae * * * yn cael ei chwareu heno yn Haymarket; gwydraid o frandy eto cyn cychwyn. Wel, dyna y chwareu drosodd; nid yw ond haner awr wedi 12 o'r gloch. I ba le yr af nesaf? Rhaid gorphen yn ei thy hi; ac yna af i'm llety. Dyma dranoeth eto. Wele fi wedi treulio diwrnod a noswaith, wedi cael boreufwyd yr ail ddydd ar ol gadael ty fy nhad, ac wedi talu fy holl filiau; pa faint weriais i, tybed? Nis gallaf gofio pa faint a delais, canys yr oedd niwl ar fy ymenydd wrth alw am fy miliau. Y ffordd i mi gael sicrwydd yw cyfrif pa faint sydd yn ol. Yr oedd genyf *fil* o bunau yn gadael ty fy nhad. Pa faint sydd genyf yn awr? Un cant, dau, tri, pedwar, pump, chwech, saith, wyth, naw cant. Naw! *naw!* Nid oes yma ddim ond NAW! Nid oes modd fy mod wedi gwario *cant;* rhaid fod merched y fall wedi fy yspeilio! Wel, y mae genyf ddigon eto,—*naw cant o bunau!* Rhaid bod yn fwy gofalus o hyn allan. A dyma fy mil punau mewn chwarter blwyddyn wedi myned yn *bum' cant!* Ond peth garw yw cadw arian mewn llogell, yn lle ar y llog; a gwario o hyd, heb enill dim. Ond rhaid i mi fod yn gynilach. Ac er pob peth, yn mhen naw mis, dyma fi wedi gwario y cwbl, ond un bunt! Pa beth a wnaf â hon? A wariaf fi y cwbl? Ni waeth hyny bellach: os gwnaf hyny, pa fodd y talaf am lety nos yfory? Ond ni waeth tewi, rhaid i'r swllt olaf fyned. Dyna fe,—ac yn wir, y mae wedi dyfod yn auaf, a minau mewn gwlad bell. A dyma fi wedi bod un noswaith yn cysgu allan. Y mae fy nghylla yn wag, fy esgidiau wedi dryllio, a'm gwisg yn garpiau; ac y mae y bwyd yn ddrud yn y wlad yma eleni; pa beth a wnaf? Rhaid i mi geisio gwneud rhywbeth am fy mwyd. Ond pwy a rydd waith i mi? a pha beth a fedraf wneud o ran hyny? Dacw ryw amaethwr yn myned o'r farchnad. Hei! A oes arnoch eisieu gwas?

## PEN. II.

AMAETHWR. Pa beth yw dy enw di?

ER. Er y byddant yn fy ngalw.

AMAETHWR. Pa beth fedri di wneud? Nid oes dim golwg gweithiwr arnat ti. Buaswn yn casglu wrth edrych ar dy ddwylaw, dy wisgoedd, dy het, a dy esgidiau, dy fod wedi gweled byd da. Ai nid mab gwr boneddig wyt ti wedi troi yn afradlon? A fedri di gloddio?

ER. Medraf, am wn i.

AMAETHWR. Wel, os medri, dyma i ti le i gynyg. Ai fel yna yr wyt ti yn cloddio! Daw y clawdd i lawr yn y pen yma cyn i ti gyraedd y pen acw. Ac y mae digon o faw arnat, fel y gellit wneud tywarchen o honot dy hun, a'i dodi yn y clawdd o ran hyny! Ond efallai y gellit ddyrnu yn well.

ER. Efallai y gallwn i, Syr. Gwelais weision fy —— yn dyrnu.

AMAETHWR. Gweision pwy? Paham yr ateliaist wedi dweyd fy?

ER. Gweision, gweision—rhyw fferm draw yna.

AMAETHWR. Pa fodd y mae y dyrnu yn dyfod yn mlaen, Er? A oes llawer o ŷd ar y llawr?

ER. Nid llawer, Syr. Canolig yr wyf yn medru dyrnu. Tarewais fy mhen â'r ffyst boreu heddyw, a bum mewn llewyg yn y gwellt am beth amser. Ac yn wir, y mae fy nwylaw yn dolurio. Byddai yn dda genyf gael rhywbeth i'w wneud heblaw dyrnu.

AMAETHWR. Wel, pa beth fedri di wneud? A fedri di borthi moch yn y maes?

ER. Medraf; rhaid y medraf; ond pa faint o gyflog a gaf?

AMAETHWR. Cyflog! A wyt ti yn dysgwyl cyflog? Da os cai haner digon o ryw fath o fwyd ar y flwyddyn ddrud yma. Y mae llawer o'n tlodion ni ein hunain wedi newynu ac eraill ar newynu

ER. (Wrtho ei hun). Wel, nid oes dim i'w wneud ond ceisio cwympo i'r ammodau, a phorthi moch! Och fi! Y mae hwn yn waith caled, budr! Blwyddyn i heddyw, yr oedd gweision a morwynion fy nhad yn ymgrymu i mi; ond yn awr y mae y distadlaf o'r moch yn hyf arnaf! Rhoddant eu danedd drwy fy llodrau. Y mae fy nghob yn dyllau,

fy het yn dolciau, ac ni feddaf ond un esgid rhwng dau droed. Ond gallwn oddef hyn pe y cawn ddigon o fwyd. Medrwn fwyta gwehilion y moch pe cawn hyny. Bum yn gofyn i lawer a gawswn lenwi fy mol â'r cibau a adawai y moch; ond ni roddai neb i mi. Pa beth a wnaf? Rhaid i mi ddianc oddiyma, neu farw! Ond i ba le yr af fi? Ni wiw i mi fyned yn mhellach. Yr unig beth allwn wneud fyddai codi a myned at fy nhad, addef fy nrygioni, a gofyn a gawn fod yn was iddo ef. Efallai y derbyniai fi; y mae yn llawn tiriondeb. Ond pa fodd yr af ato? Yr wyf mewn gwlad bell; ni feddaf hatling yn fy llogell i dalu am fy llety; ac nid oes dim tosturi yn nghalonau pobl y wlad yma; ac o ran hyny, y mae yr olwg arnaf yn amheus, ac yn peri i bawb gilio draw. Ond rhaid codi a chynyg myned, neu newynu. Ffarwel, gibau; ffarwel, foch; ffarwel, feistriaid; fy nhad i mi. Os caf fod yn was iddo ef, pob peth yn iawn eto.

## PEN. III.

Tad. (Wrtho ei hun). Dwy flynedd i heddyw y gadawodd fy machgen ieuengaf fi. A ydyw ef yn fyw, tybed? Os ydyw, y mae wedi dyfod ato ei hun, mi feddyliwn. Druan o Er! Yr oedd rhywbeth yn lled ddiniwaid ynddo. Ni chysgais noswaith er pan ymadawodd heb feddwl am dano. Ni bum gymaint ag un prydnawn teg o hyny eto heb fyned i ben y bryn i edrych tua'r cyfeiriad yr aeth o'r golwg. Af yno heno eto. Yr wyf wedi anghofio ei holl golliadau, ac yn teimlo dyddordeb yn y man lle y gwelais ei gefn ddiweddaf. Y mae hi yn braf ar ben y bryn yma heno;—yr awel yn iach, a'r awyr yn glir. Dacw rywbeth yn symud yn mhell tu hwnt i'r fan y gwelais fy mhlentyn ddiweddaf. Daw yn nes yma. Aderyn ydyw, nage; dafad ydyw, na; dyn ydyw. Y mae yn cerdded yr un ffunud a fy mab ieuengaf; efe ydyw. Nage; y mae yn gwargrymu. Ië; yr oedd yn taflu ei fraich yn awr yr un fath ag ef yn union. Nage, rhyw gardotyn ydyw hwnacw, heb het am ei ben, esgidiau am ei draed, na dillad am dano. Efe ydyw, yn wir! Mi redaf i'w gyfarfod—mi redaf.

Er. Dacw fwg tŷ fy nhad! Dacw yr hen gaeau! A dacw y bryn oddiar y tŷ! Llawer canwaith y gwelais fy nhad yn myned i ben hwnacw ar fin nos; yr oedd acw rywun heno. Dacw ef yn rhedeg i lawr, ac yn dyfod yma:

—nhad ydyw! Nage; ni welais fy nhad yn rhedeg mor gyflym er's blynyddau. Nhad ydyw, yn wir! Y mae yn rhedeg, a rhedaf finau i'w gyfarfod.

TAD. Fy mab!

ER. Fy nhad!

TAD. Fy mab anwyl!

ER. Nid wyf deilwng i'm galw yn fab i ti; gwna fi fel ——; pechais——.

TAD. Maddeuais. Paham, fy mhlentyn i, yr wyt yn gorwedd ar y ddaear, ac yn wylo? Maddeu i mi am syrthio ar dy wddf, a dy gusanu. Bu yn dda genyf dy gusan ganwaith pan oeddit yn faban bach, ond ni chefais erioed gymaint o flas ar dy gusan a heddyw. Yr wyt wedi teithio drwy y llwch a'r llaid, fy mhlentyn. Tyred gyda mi i'r ffynon lle y byddaf yn arfer ymolchi. William, fy ngwas, rhed i ymofyn gwisg iddo.

WILLIAM. Pa wisg, Meistr?

TAD. Y wisg oreu.

WILLIAM. Efallai fod hòno yn rhy fawr iddo.

TAD. Nag ydyw. Yr oeddwn yn meddwl am dano wrth ei phrynu. Cofia am ddwyn yr esgidiau goreu hefyd.

WILLIAM. Y mae pob peth yma, Meistr.

TAD. Gwisgwch am dano. Dyna di, fy mhlentyn, ni waeth pwy a dy wel di. Dyma y fodrwy eto, rhoddwch hona ar ei law.

ER. O! fy nhad! y mae y llaw yma wedi ei llychwino wrth borthi moch. Gwell i mi beidio cael y fodrwy yn union; a modrwy berlog arddeliad perthynas yw hon. Gwnai modrwy waelach y tro i mi, yn enwedig nes i mi ail-enill fy nghymeriad.

TAD. Rhoddwch y fodrwy ar ei law. Ië, y fodrwy ag y mae yn ysgrifenedig arni, *Rhodd tad i'w blentyn.* A John, rhed i ladd y llo pasgedig—y mwyaf tyner a da. Bydd dithau yn barod i'w drin, Sara, fy mhen-cogyddes. Fy mhen-pobydd, gofala dithau am y teisenau; fy mhen-trulliad, gofala dithau am y gwin; y cantorion a'r cantoresau, hwyliwch chwithau eich telynau, a byddwch yn barod; Dafydd, rhed dithau drwy yr ardal i wahodd y cymydogion a'r cymydogesau i ddyfod yma i swpera heno. Bydd yn barod am 6. Eisteddaf fy hunan ar ben y bwrdd, a fy mab ieuengaf ar fy neheulaw. Dyna y swper drosodd, a'r llieiniau wedi eu symud. Yn awr am yr ymddyddan, y

gynghanedd, a'r dawnsio. Yr unig goll a welwyd yma heno oedd absenoldeb Esau. Ond ni cheir yr un wledd yn y byd hwn heb ei wermod. Dystawrwydd! Dyna y gloch yn canu; y mae yna rywun wrth y drws— agor, John.

## PEN IV.

Esau. Yn enw pob peth, John! pa beth sydd yma? Yr oeddwn yn clywed swn cynghanedd a dawnsio pan ar y ffridd bellaf!

John. Wel, dy frawd a ddaeth, a'th dad a laddodd y llo pasgedig, am iddo ei dderbyn ef yn iach; a chanu a dawnsio y maent yn awr ar ol swper. Tyred dithau i fewn. Y mae dy frawd yma heb i ti ei weled er's dwy flynedd; ac y mae pawb yn llawen dros ben.

Esau. Myfi i fewn! na ddeuaf byth. Dyna yr hen grwydryn drygionus wedi dyfod yn ol. Bydd yn sicr o wirioni fy nhad eto, canys y mae ef mor feddal. Ni ryfeddwn pe y cai ran eto o'r da. Y mae arnaf finau awydd cymeryd fy nhaith i wlad bell. Ië, byddai yn well genyf fyned i foddi na dyfod i fewn.

John. Esau sydd yma, Meistr; ond ni ddaw i fewn.

Tad. Rhaid i mi fyned allan fy hunan i ymbil ag ef.

Esau. Wel, fy nhad! yr ydynt wedi ei gwneud hi heddyw. Bum i yn gweithio ar y ffarm yma am yr holl flynyddau, ac ni chefais erioed swper fel hyn; naddo, ni leddaist erioed fŷn i'm gwneud i yn llawen gyda'm cyfeillion; ond am dy fab hwn, ni wnaeth ef ddim erioed ond byw yn wr boneddig, a gwario pob dimai a gai gyda'r bibell, y gwin, y dawns, a'r puteiniaid. Bu agos iddo ddifa yr oll a feddem, a thòri ein calonau; ac eto pan ddaeth efe adref, ti a leddaist iddo y llo pasgedig!

Tad. Yr wyt ti yn wastad gyda mi; a'r eiddo fi oll ydynt eiddot ti. Nid i mi yn unig yr oeddit yn llafurio, ond i ti dy hun hefyd; a byddi di yn debyg o fod yn byw yma, ac yn mwynhau dy lafur ar fy ol i. Ond plentyn anwyl fy henaint i yw Er; ac y mae yn frawd i tithau. A gwyddost i ni ein dau feddwl ei fod wedi marw. Ond wedi iddo ddyfod adref yn fyw, rhaid oedd llawenychu a gorfoleddu. Tyred dithau i fewn, fy mab; maddeu ac anghofia y tro yma. Yr wyf yn meddwl yn sicr fod Er wedi ei ail-eni. Mae eich mam wedi marw. Gadawer i ni bellach fyw ein tri gyda'n gilydd yn ddedwydd, nes cleddir fi, beth bynag.

PAWB.

Croesaw gartref i'r afradlon,
  Can' mil croesaw, medd ei dad;
Croesaw hefyd, etyb Esau,
  Er fy mrawd sydd wr difrâd;
Croesaw iddo ydyw adsain
  Holl delynau mwyn y lle,
Adre', adre', afradloniaid,
  De'wch, cewch groesaw yn y nef.

---

## "Y NOS HON."—MARC xiv.

AWYDD dwyn prif ddygwyddiadau y nos ryfedd hon i ymyl plant a'n cynhyrfa i ysgrifenu.

### PEN. I.

*Y Nos Hon ar Swper.*

IESU. Yr oedd arnaf awydd mawr i eistedd gyda chwi i fwyta y pasg hwn, ac ordeinio y swper cyn eich gadael.

IOAN. A wyt ti yn myned i'n gadael?

IESU. Ydwyf, ond ni adawaf chwi yn amddifad chwaith.

IOAN. Yr ydym ni oll yn ffyddlon i ti.

IESU. Na, y mae un o honoch chwi a'm bradycha i.

IOAN. Un o honom ni! ai myfi yw, Arglwydd?

PEDR. Ai myfi?

IAGO. Ai myfi?

POB UN. Ai myfi?

PEDR. Na, ni ofynodd Judas eto. A ydyw efe yn gwybod, tybed? Yr wyt ti, Ioan, a dy ben ar fynwes Iesu; gofyn iddo am roddi arwydd pa un o honom a'i bradycha.

IESU. Yr un yr estynaf iddo y tamaid wedi i mi ei wlychu.

PEDR. Y mae yn ei estyn at Judas Iscariot.

JUDAS. Ai myfi a'th fradycha di?

IESU. Ië, tydi; a'r hyn yr wyt yn meddwl ei wneuthur, gwna ar frys.

JUDAS. Gan dy fod wedi fy nynoethi i'r dysgyblion, af ati yn awr. Nos da i chwi.

IESU. Dymunwn nos dda i tithau, Judas; ond un ddrwg fydd hi: gwnai waith y bydd yn edifar genyt am dano.

PEDR. A welsoch chwi wyneb Judas! Yr oedd ei wefusau yn crynu, a'r Satan a aeth i'w galon wedi ei liwio yn welw-las.

IESU. Dyna Judas wedi myned; awn yn mlaen â'r swper.

IOAN. A oes genyt yr un gair o gysur i'w roddi i ni cyn ein gadael?

IESU. Oes, yr wyf yn myned i barotoi lle i chwi; ac mi a ddeuaf drachefn, ac a'ch cymeraf chwi ataf fy hun.

PEDR. A gawn ni neb yn dy le di?

IESU. Cewch, Ddyddanydd arall, yr hwn a erys gyda chwi yn dragwyddol.

IAGO. A oes genyt ddim i'w roddi i ni i gofio am danat?

IESU. Oes; fy nhangnefedd ydwyf yn ei roddi i chwi. Codwch, y mae yn bryd i ni fyned i'r ardd yn ol ein harfer.

## PEN. II.

*Y Nos Hon yn eu Cynghor hwynt.*

JUDAS. (Wrtho ei hun). I ba le yr af y pryd yma o'r nos? Y mae yr archoffeiriaid yn arfer bod gyda eu gilydd yn hwyr. Af i'r *Cynghordy*. Yr wyf yn meddwl y gwelaf oleu yno. Curaf y ddor.

MORWYNIG. Pwy sydd yna y pryd hyn o'r nos?

JUDAS. Judas Iscariot, un o ddysgyblion yr Iesu.

Y FORWYNIG. Y mae Judas Iscariot, un o ddysgyblion Iesu yna, fy arglwyddi.

CAIAPHAS. Dywed wrth Judas am ddyfod i mewn.

JUDAS. Nos dda, foneddigion.

CAIAPHAS. Nos dda i tithau, Judas. Y mae yn dda genym dy weled. Iesu a'i ddysgyblion oedd testyn ein hymddyddan heno. Yr ydym yn gweled fod y byd yn myned ar ei ol. Y mae arnom awydd cael ffordd i'w ddal a'i ladd; ac y mae o bwys i ni fedru gwneud hyn heb wybod i'r bobl, rhag iddynt gynhyrfu. A elli di roddi cyfarwyddyd i ni?

JUDAS. Gallaf, oddiwrtho ef y daethum; gwn pa le mae, a pha le y bydd hyd y bore.

CAIAPHAS. Beth gymeri di am ein dysgu i'w ddal?

JUDAS. Rhaid i mi gael 30 o ddarnau arian.

CAIAPHAS. Cei, yn union; talaf hwy o'm llogell fy hun i aros myned i'r drysorfa.

JUDAS. Pwy ddaw gyda mi i'w ddal?

CAIAPHAS. O, anfonwn fyddin arfog gyda thi.

JUDAS. Ië, purion yw cael tipyn o nerth; canys bydd

deuddeg o honynt hwy. Gallant gyfodi yn ein herbyn. Ac y mae efe yn medru galw angylion i'w gynhorthwyo. Gwelais ef unwaith yn ysgubo lleng o gythreuliaid i'r môr.

CAIAPHAS. Ni raid i ti bryderu: gofalaf am fyddin, swyddogion, ac arfau. Y mae genym ddigon o'r rhai hyny dan ein hawdurdod.

JUDAS. Gwell iddynt ddwyn lampau gyda hwy, fel y gellir ei adnabod ef.

CAIAPHAS. Gofalwn am hyny hefyd.

JUDAS. Dilyned y milwyr fi. Awn dros afon Cedron.

SWYDDOG. Pa fodd y gallwn wybod pa un yw yr Iesu?

JUDAS. Rhoddaf gusan iddo.

## PEN. III.

### *Y Nos Hon yn yr Ardd.*

JUDAS. Gwrandewch a oes swn siarad.

SWYDDOG. Dyna ryw swn!

JUDAS. Dacw yr unarddeg fel pe byddent newydd ddeffro; dyna yntau yn sefyll gerllaw iddynt. "Henffych well, Athraw! Mae yn dda genyf dy weled; derbyn fy nghusan!"

IESU. A ydwyt ti yn fy anerch i fel Athraw, ac â chusan yn fy mradychu?

SWYDDOG. Ewch yn mlaen, ymeflwch ynddo, filwyr.

IESU. Am bwy yr ydych yn ymofyn?

SWYDDOG. Am Iesu o Nazareth.

IESU. *Myfi yw.* Paham y mae dy filwyr di yn edrych ar fy nysgyblion i, ac yn codi ofn arnynt?

SWYDDOG. Y mae dy lais wedi dychrynu y milwyr, nes ydynt oll wedi syrthio.

IESU. O! deuant yn mlaen; hon yw eich awr chwi, a gallu y tywyllwch.

SWYDDOG. Deuwch yn mlaen, filwyr, rhwymwch ef.

PEDR. Ni fedrwn edrych arnynt yn dy rwymo. A gawn ni daro? Cael neu beidio, tynaf fi fy nghleddyf, a chynygiaf am ben gwas brwnt yr archoffeiriad yna.

IESU. Paid a gwylltio, Pedr.

PEDR. Ni fethais lawer; torais ymaith ei glust ddeheu ef.

IESU. Dod dy gleddyf yn y wain, Pedr; pe am eu gorchfygu fel yna, gallaswn ddeisyf ar fy Nhad, ac yn y fan efe a roddasai i'm helpu fwy na deuddeg lleng o angylion.

SWYDDOG. Y mae gwas yr archoffeiriad yn gwaedu yn anghyffredin; ofnwyf fod ei fywyd mewn perygl.

IESU. A welwch chwi yn dda ddatod y gadwen oddiar fy llaw dde, fel y gallwyf ei hestyn i'w wella?

SWYDDOG. Gadawer iddo. A ydyw wedi gwella?

MALCHUS. Ydyw, y mae yn berffaith iach, heb na phoen na chraith.

IESU. Rhyfedd i chwi feddwl dyfod i fy nal i â chleddyfau ac â ffyn. Dylasech wybod na buaswn yn codi llaw yn eich herbyn.

SWYDDOG. Rhwymer ef eto i'w gymeryd i'r llys.

## PEN. IV.

### *Y Nos Hon yn y Llysoedd.*

JUDAS. Arweiniwyd ef yn gyntaf at Annas; ond ni wnaed nemawr sylw o hono yno. Anfonwyd ef yn rhwym i lys Caiaphas. Cefais i eistedd yn ymyl yr orsedd; a chafodd Ioan ddyfod i mewn drwy ryw ddylanwad, ond cadwyd Pedr allan.

IAGO. Pa fodd y trodd y prawf yn eu cynghor hwy?

JUDAS. Tarawyd ef ar ei wyneb, a phoerwyd arno, pan oedd yn amddiffyn ei hun. Cyhoeddwyd ef yn euog o gabledd, am wneud ei hun yn Fab Duw; a dedfrydwyd ef i farw; ond am na feddent hawl i'w roddi i farwolaeth, anfonwyd ef i lys Pilat.

IAGO. Pa fodd yr oeddit yn teimlo erbyn hyn?

JUDAS. Nid dedwydd; yr oedd fy nghydwybod yn fy mrathu wrth ei weled yn cael cam.

IAGO. A welais di Pedr yn y llys?

JUDAS. Do, a chlywais ef yn gwadu drwy lw ei fod yn adnabod Iesu; a dywedais wrthyf fy hun, nid yw hwna ddim gwell na minau.

IAGO. A anfonwyd ef i lys Pilat?

JUDAS. Do, yn rhwym; a dilynais inau ef gyda'r dorf a'r archoffeiriaid.

IAGO. A aethoch chwi i fewn i'r llys?

JUDAS. Naddo, yr oedd yr archoffeiriaid yn rhy santaidd i fyned i lys y cenhedloedd ar y Pasg, ond bu Pilat yn ddigon caredig i godi ei orsedd allan.

IAGO. Pa fodd y cyhuddid ef yma?

JUDAS. Dywedai yr archoffeiriaid ei fod yn deyrn-fradwr, ac am wneud ei hun yn frenin yn lle Cesar.

IAGO. Pa fodd y bu yma?

JUDAS. Y mae Pilat yn ei holi yn eu gwydd hwy, ac yn ei gymeryd i'r dadleudy i'w holi yn ddirgel; a dywed nad yw yn cael dim bai ynddo.

IAGO. Pa beth ddywedai yr archoffeiriaid am hyny?

JUDAS. Bloeddient fod yn rhaid ei roddi i farwolaeth, am ei fod yn cyffroi y bobl, o Galilea hyd Judea; a cheisiodd Pilat esgus i'w anfon at Herod, am mai efe oedd llywydd Galilea.

IAGO. Pa fodd y bu arno yno?

JUDAS. Dilynodd ei gyhuddwyr ef, ac aethum inau gyda hwy.

IAGO. Pa beth a wnaeth Herod iddo?

JUDAS. Darfu iddo ef a'i filwyr ei drin fel gwallgofddyn, rhoddi gwisg glaerwen am dano, a'i anfon yn ol at Pilat; a dyma y pryd yr aeth Herod a Philat yn ffrindiau.

IAGO. Beth wnaeth Pilat?

JUDAS. Dywedodd ei fod wedi ei holi yn gyhoeddus a dirgel, a'i anfon at Herod, ac nad oedd yr un o honynt yn cael dim ynddo yn haeddu marwolaeth; a dymunodd arnynt oddef iddo ei geryddu a'i anfon ymaith.

IAGO. A ddarfu iddynt foddloni?

JUDAS. Naddo.

IAGO. Pa beth wnaeth Pilat eto?

JUDAS. Ceisiodd ganddynt ddewis Iesu i'w ollwng yn rhydd yn lle Barabas y llofrudd; ond dysgodd yr archoffeiriaid y bobl i floeddio, Nid Iesu i ni, ond Barabas.

IAGO. Pa beth wnaeth Pilat?

JUDAS. Caniatâodd ei fflangellu, er heb ei gondemnio, a'i gymeryd i'r dadleudy, rhoddi y wisg borffor am dano, coron ddrain ar ei ben, a chorsen yn ei law, a phlygu gliniau ger ei fron; yna dygwyd ef i olwg y bobl.

IAGO. A ddarfu hyn fagu tosturi ynddynt?

JUDAS. Na, dysgai yr archoffeiriaid a'r swyddogion y bobl i floeddio, "Croeshoelier ef."—"Y mae genym ni gyfraith, ac wrth ein cyfraith ni efe a ddylai farw, am iddo wneud ei hun yn Fab Duw;" ac os gollyngai Pilat ef yn rhydd, nad oedd yn garedig i Cesar.

IAGO. Beth fu ar ol hyn?

JUDAS. Y mae Pilat yn ofni Cesar; ac wedi golchi ei

ddwylaw, a dweyd, "Dieuog wyf fi oddiwrth waed y cyfiawn hwn," y mae yn ei draddodi iddynt i'w groeshoelio. O! ni bu erioed y fath gam!

IAGO. A welais di ef yn dyfod allan o'r pretorium wedi ei gondemnio?

JUDAS. Do, ac ni anghofiaf byth yr olygfa! Bu yn edifar genyf ei fradychu. Methais ddal. Rhedais a'r arian at yr archoffeiriaid oeddynt y bore hwnw yn y deml.

## PEN. V.

### *Y Nos Hon yn y Deml.*

CAIAPHAS. Pa fodd y daethost i'r deml mor fore?

JUDAS. Yr oeddwn yn deall fod yr archoffeiriaid a'r henuriaid yn dyfod yma yn fore, ac yr oedd arnaf eisieu eu gweled.

CAIAPHAS. Paham yr wyt yn edrych mor drist a chynhyrfus, a thithau wedi bod yn offeryn i'n cynhorthwyo i ddal yr adyn!

JUDAS. Ië, dyna sydd yn fy lladd! "Pechais, gan fradychu gwaed gwirion." Pa beth a wnaf? O! pa beth a wnaf!

CAIAPHAS. Edrych di at hyny; nid yw ddim i ni.

JUDAS. Dyma y 30 darn arian yn ol i chwi.

CAIAPHAS. Ni chymerwn ni hwy.

JUDAS. Ni chymeraf finau hwy. Y maent yn llosgi fy enaid i. Dyna hwy i chwi. Af i roddi terfyn ar fy einioes; ac O! na allai fy enaid farw!

---

## CARCHARIAD A RHYDDHAD PEDR.—ACT. xii.

## PEN. I.

HERODIAS. Pe medrit ti, fy mrawd Herod, dori pen *Pedr* eto, ti a foddheit yr archoffeiriaid a'u canlynwyr yn anghyffredin. Y mae efe drwy ryw foddion, yn enw Iesu, wedi rhoddi traed i gloff, gwella clefydau lawer iawn, a chodi y marw. Y mae gan y bobl y fath ffydd ynddo, fel y tybiant fod ei gysgod yn ddigon i'w gwella. Efe yn ddiau yw y pregethwr mwyaf dylanwadol o honynt.

HEROD. Yr wyf yn adnabod y dyn, ac y mae fy llygad

arno. Bu efe ac Ioan yn y carchar o'r blaen, a thranoeth cymerwyd hwy o flaen yr archoffeiriaid, a buont yn y llys yn dafodog a hyfion. Ymffrostiai Pedr mai yn enw yr Iesu yr oeddynt yn pregethu ac yn gwneud gwyrthiau. Ac er i'r archoffeiriaid fod mor garedig a'u rhyddhau, gomeddasant addaw peidio pregethu a gwneud gwyrthiau yn yr un enw. Yr oedd fel pe buasai yn anrhydedd ganddynt ddyoddef erledigaeth er mwyn ei enw ef. Y maent yn gwneud rhyw bethau tebyg i wyrthiau, yn enwedig Pedr yna. Rhoddodd draed i un a fuasai yn gloff o'r groth, ac a fuasai am flynyddau yn gofyn elusen wrth borth y deml. Clywais iddo yn Joppa, y dydd o'r blaen, gyfodi Dorcas o farw i fyw. Gwellhaodd lawer o gleifion, a gwn fod y bobl yn ddigon ffol i feddwl fod "cysgod Pedr pan ddel heibio," yn ddigon i'w gwella. Yr wyf fi wedi rhybuddio gweision yr archoffeiriaid am gadw llygaid arno, a'i gymeryd i fyny, os cânt esgus. Yr wyf yn dysgwyl bob dydd clywed eu bod wedi gwneud, ac yr wyf yn gwylio y llysoedd fy hunan, er mwyn cael ei ddedfrydu. Ond a oes carcharor i'w brofi heddyw?

Gwas yr Archoffeiriad. Oes un.

Herod. Safed i fyny. Pa beth yw ei enw?

Gwas. Pedr, fy Mrenin.

Herod. O, ïe, yr wyf yn ei adnabod. Pa gyhuddiad sydd yn ei erbyn yn awr?

Gwas. Wel, fy Mrenin, y mae yn twyllo y bobl ei fod yn gwneud gwyrthiau, yn enwedig gwella cleifion a chodi meirw. Dywed mai yn enw Iesu y gwna hwynt, ac y mae yn pregethu yn yr un enw. Yr oedd yn llefaru neithiwr ar risiau y castell, a miloedd yn gwrando. Y mae ei dwyll yn ei wneud yn boblogaidd. Tybiem ei fod yn troseddu cyfreithiau crefydd yr Iuddewon, a llywodraeth Cesar, drwy achosi cynhwrf yn y ddinas. Ac felly darfu i ni ei gymeryd i fyny, ei gadw yn rhwym neithiwr, ac yr ydym heddyw yn ei ddwyn gerbron y llys.

Herod. A fu efe yn sefyll o flaen y fainc o'r blaen?

Gwas. Do, fy arglwydd, o flaen mainc Annas, Caiaphas, Ioan, Alexander, a holl genedl yr archoffeiriaid.

Herod. A oedd y cyhuddiadau yn ei erbyn y pryd hyny yn debyg i'r hyn ydynt yn awr?

Gwas. Yr un peth yn union, fy arglwydd, oddieithr ei fod yn myned yn hyfach yn awr, a mwy tyrfa yn ei ddilyn.

HEROD. A gafwyd ef yn euog y pryd hyny ?

GWAS. Do, fy arglwydd, o bregethu a gwneud gwyrthiau yn enw Iesu.

HEROD. A gafodd efe ei gosbi ?

GWAS. Naddo, fy arglwydd; gollyngwyd ef a'i gydymaith Ioan yn rhyddion, ar yr amod iddynt beidio pregethu na gwneud gwyrthiau mwy yn yr enw hwn.

HEROD. Ac o dan amgylchiadau fel hyn, darfu iddo ymhyfhau i gasglu tyrfa, a phregethu yn yr un enw echnos! Wel, fy nghyd-ynadon, yr ydych wedi gwrando tystiolaethau gwas yr archoffeiriad, yr hwn a ddaliodd y carcharor; ac nid yw efe ei hun yn gwadu y cyhuddiadau a ddygir yn ei erbyn, oddieithr nad oedd yn bwriadu codi terfysg. Ac yn awr, pa beth fydd y ddedfryd ?

EDRYCHYDD. Y mae Annas, Caiaphas, Ioan, Alexander, a holl aelodau y Sanhedrim, yn ysgwyd eu penau; ac wedi dau fynyd o ymddyddan dystaw, cyhoeddwyd y ddedfryd ganlynol:—

HEROD. Pedr, y carcharor, y mae cyfreithiau crefydd yr Iuddewon, a llywodraeth Cesar, yn dy gyhoeddi yn euog. A'r ddedfryd yw, i ti gael dy gymeryd yn ol i'r carchar, a dy roddi dan ofal 16—pedwar pedwariaid o filwyr, yn ystafell bellaf y carchar—4 yn dy wylio ar y tro—wedi dy rwymo wrth ddau, a dau eraill yn gwylio y pyrth, a'u cleddyfau ar eu clun; ac ar ol i ddyddiau y bara croyw fyned drosodd, dy fod i gael dy ddwyn allan, a thòri dy ben. Ac yr wyf yn eich rhybuddio chwithau, filwyr, i edrych ar ei ol. Gochelwch gysgu. Diangodd o'r carchar unwaith o'r blaen.

## PEN. II.

MARC. O! Mair, fy mam. A glywais di pa bethau sydd wedi dygwydd i Pedr ?

MAIR. Na chlywais i, fy mhlentyn. Pa beth sydd ?

MARC. Wel, yr oedd efe echnos yn pregethu Crist ar risiau y castell, ac yr oedd yno lawer o bobl; canys y mae son am ei bregethau a'i wyrthiau wedi myned, nid yn unig drwy Jerusalem, ond drwy yr holl wlad o amgylch. Myn rhai fod ei gysgod yn ddigon i'w gwella; ac, yn wir, ni ryfeddwn os yw ffydd yn ei gysgod ef, ac yn enw ei Feistr, wedi gwneud hyn. Yr oedd pawb yn gwrando arno yn astud a llonydd, oddieithr fod ambell un yn wylo. Ond yr

oedd Herod wedi gorchymyn i weision yr archoffeiriaid wylio y pregethwr, a'i gymeryd i fyny; ac felly y gwnaethant. Cadwasant ef yn rhwym y noswaith hòno, a thranoeth dygasant ef i lys Herod. Yr oedd y brenin ei hun ar y fainc, a'r archoffeiriaid a blaenoriaid y deml o'i amgylch. Cyhuddid Pedr o droseddu cyfreithiau yr Iuddewon, y deml, a Cesar. Ni cheisiodd, ac ni chaniateid iddo, amddiffyn ei hun. Ac wedi i Herod ymgynghori dau fynyd â'r archoffeiriaid, cyhoeddwyd y ddedfryd lymaf yn erbyn Pedr, sef ei fod i'w gymeryd oddiyno i'r carchar nesaf i mewn, a'i roddi dan ofal 16 o filwyr, i'w wylio bob yn ail deirawr, pedwar ar y tro; a bod ei fraich dde yn rhwym wrth fraich aswy un o'r milwyr, a'i fraich aswy yn rhwym wrth fraich dde y llall. Ac y mae yno ddau filwr cleddyfog yn effro bob amser, i wylio y pyrth. A dydd Gwener, wythnos i yfory, y mae Pedr i gael ei ddwyn allan i'w ddienyddio. Y maent yn rhy dduwiol i wneud hyny ar y Pasg, a dyddiau y bara croyw, onide, yr wyf yn credu y tòrasent ei ben ef heddyw. Y maent yn sicr o wneud, oblegid dyna ben Iago wedi ei gymeryd. O! mam anwyl, pa beth a wnawn!

Mair. Yn wir, Marc, yr wyt wedi fy nharo â syndod. Nis gwn pa beth a wnawn, na pha beth ddaw o'r achos. Lleddir y diwygiad yn ei gychwyniad. Nis gwn pa fodd y mae y Bod mawr yn goddef peth fel hyn. Y mae y gyfeillach grefyddol i fod yn ein ty ni heno. Dysgwylir llawer yn nghyd, ac yn eu plith hen frodyr profiadol. Gallwn ymgynghori pa beth i'w wneud.

Ioan. Ymddengys mai myfi sydd i lywodraethu y gyfeillach yma heno. Gawn ni ddechreu darllen, a chanu, a daw y brawd Thomas i weddio. Gwelwch yn dda gloi y drysau, a rhoddi y lleni ar y ffenestri. Y mae sefyllfa ein brawd Pedr, y tebygolrwydd y cymerir ei fywyd oddiarno, a rhagolygon achos Cristionogaeth mewn canlyniad, yn adnabyddus i ni oll. Ac ni fedraf feddwl am fater mwy priodol i ni i'w drin, na gofyn i'n gilydd, a gofyn i'r Arglwydd, *Pa beth a wnawn?*

Andreas. Yr wyf fi yn cynyg am i ni wneud gwaredigaeth fy mrawd Pedr yn destyn gweddi, ac anfon at yr holl eglwysi, a dymuno ar bob aelod sydd yn caru yr achos i wneud yr un peth.

Thomas. Yr wyf fi yn cydweled âg Andreas; ond heb-

law bod pob un yn gweddio arno ei hun, y mae arnaf awydd cael *cyfarfod gweddi cyffredinol* wythnos i heno, y nos Iau cyn y bwriadant ddwyn Pedr allan i'w ddienyddio; canys yr ydym wedi clywed a theimlo fod pwys mawr i gydsynio mewn gweddi.

MAIR. Da iawn; y mae ffydd wan yn sibrwd wrthyf fi mai drychfeddwl a gynhyrfa y nef yw hwna. A wnewch chwi gyfarfod yn ein ty ni am 12 nos Iau nesaf? Ni byddai yn ddoeth cyfarfod yn gynarach na hyny, rhag i ni gael ein haflonyddu. Gwyddoch fod genyf fi un o'r ystafelloedd mwyaf cyfleus yn y ddinas; ac y mae llawer o gyfrinachau crefyddol wedi eu cynal ynddi. Bu Iago a Phedr, druain, a thithau Ioan, lawer tro yn gweddio yma.

IOAN. Wel, y mae pawb yn cydsynio. Cofier nos Iau, am 12. Bydded i ti yn gyfrinachol roddi hyn ar ddeall i'n holl gyfeillion, a cheisied pob un, heblaw hyny, ddelio â Duw yn y dirgel, a chofio "fod i ni Eiriolwr gyda'r Tad."

MATHEW. Wel, dyma y noson bwysig wedi dyfod! Da genyf weled yr ystafell mor lawn. Cloer y drysau, a rhodder y lleni ar y ffenestri. Dechreuaf y cwrdd drwy ddarllen 1 Bren. xviii. 36 a 37 adnodau. Cymeraf ryddid i ddefnyddio *ni* yn lle *fi*, a'u cymhwyso at ein hamgylchiadau: "O Arglwydd Dduw Abraham, Isaac ac Israel, gwybydder heno mai tydi sydd Dduw yn Seion, a ninau yn weision i ti, ac mai trwy dy air di y gwnaeth ein brawd Pedr yr holl bethau a wnaed. Gwrando ni, O! Arglwydd, gwrando ni, fel y gwypo Herod, Annas, Caiaphas, Ioan, Alexander, a holl genedl yr archoffeiriaid, mai tydi yw yr Arglwydd Dduw, ac mai tydi fedr waredu dy bobl, a gofalu am dy achos." Ioan, a weli di yn dda weddio?

IOAN. Ein Tad grasol, gan fod i ni Eiriolwr gyda thi, yr ydym yn anturio atat. Gwel ein trallod. Yr wyt yn caniatâu i ni ddweyd wrthyt yr hyn a wyddost. Y mae ein brawd Pedr yn y carchar am bregethu Crist, ac y mae i'w ddienyddio yn mhen ychydig oriau. Pa beth a wnawn? Ië, pa beth a wna dy achos? Y mae plant ysprydol dy was Pedr yn filoedd yn y ddinas hon, y gwledydd, a'r dinasoedd oddiamgylch; a pha beth ddaw o honynt os collant eu tad yn awr yn eu mabandod? O Dad! os yw bosibl, boed i ti waredu dy was Pedr. Ac ni waeth i ni addef, yr ydym yn methu dweyd yn groyw, "Nid ein hewyllys ni a

wneler;" canys yr ydym am i'th ewyllys di fod yr un peth a'n hewyllys ni. O! ein Heiriolwr, dadleu ein hachos.

YR HOLL BOBL. Amen ac Amen, ac Amen.

MATHEW. Ledia benill, Andreas.

ANDREAS. Salm cxxvi.—"Pan ddychwelodd yr Arglwydd gaethiwed Seion, yr oeddym fel rhai yn breuddwydio. Yna y llanwyd ein genau â chwerthin, a'n tafod â chanu."

"Daw'r holl dduwiolion yno'n nghyd
Yn dyrfa hardd ddiri',
A'u holl gadwynau'n ddarnau mân,
A'u cân am Galfari."

MATHEW. Mair, gweddia.

MAIR. O! fy Nhad! nid oes genyf fi ddim ond yr un peth i'w geisio genyt ag a ofynodd Ioan, sef, am i ti waredu ein brawd Pedr. Dyma ein testyn heno. Nid pob peth, eithr *un* peth ydym yn geisio. Ond dymunwn ninau, fel ein Hiesu yn yr ardd, "weddio yn ddyfalach, ddyfalach." Yr wyf yn ceisio dweyd, "Nid fy ewyllys i, ond dy ewyllys di a wneler;" ond eto, dyger Pedr oddiarnynt. Ti fedri godi un arall yn ei le. Diolch i ti am ddychwelyd Saul—cynal ef, Arglwydd. Ond os yw yn bosibl, dwg Pedr oddiarnynt. Y mae yn bosibl, ti a'i cymeraist ef o'r carchar yna o'r blaen. Dyna hwy wedi tòri pen Iago, brawd Ioan, a'r cleddyf—y mae ein Boanerges wedi ei ladd. Ond O! paid a gadael iddynt ladd Pedr eto. Nid wyf finau am groesi dy ewyllys, fy Nhad; ond fy mod am i dy ewyllys di a minau fod yr un y waith hon. O! dwg Pedr oddiarnynt, anwyl Dad.

YR HOLL BOBL. Amen ac Amen, ac Amen.

## PEN. III.

GWRANDAWYDD GWEDDI. Dystawrwydd, angylion! Gwrandewch, seintiau! Y mae clychau un o ystafelloedd y ddaear yn swnio. Tynir wrth y rhaffau yn ddidor, a swniant yn uchel a chynhyrfus. Dyna hwy eto.

IOAN. Gyda chenad fy Arglwydd, a gaf fi ofyn yn ostyngedig o ba un o'r ystafelloedd gweddi y mae y swn yn dyfod?

GWRANDAWYDD. O dŷ Mair yn Jerusalem.

IAGO. O dŷ Mair! Rhyfedd iawn! Bum yno mewn cyfarfodydd gweddi lawer gwaith. Myned yno yn rhy aml i weddio, a chanmol ychydig ar fy Ngwaredwr, oedd yr

achos i Herod fy "lladd a'r cleddyf." Ond pwy sydd mor gynhyrfus yn gweddio, neu yn tynu wrth y rhaffau yn awr?

Gwrandawydd. Ioan a Mair sydd wedi bod yn gweddio yn gyhoeddus. Eu dwylaw hwy sydd ar y rhaffau; ond y maent oll yn tynu, gan ddywedyd, Amen ac Amen.

Iago. O Ioan! y mae efe yn frawd anwyl i mi yn ol y cnawd ac yn yr efengyl, ac y mae Mair yn un hynod o daer mewn gweddi. Byddai hi weithiau yn tòri i orfoleddu, nes byddai Pedr a llawer o honom yn llwyr anghofio y ddaear. Ond pa un ai dydd ai nos ydyw yn awr ar y ddaear? Yr wyf fi wedi anghofio, am ei bod yn ddydd yma o hyd.

Gwrandawydd. Haner nos ydyw yn Jerusalem.

Iago. Rhyfedd iawn fod y clychau yn swnio mor gynhyrfus ar yr awr hòno. Peth cyffredin yw *dirgel* weddio yn y nos. Dywedai fy nghyfaill Dafydd, y sant yma—"Pan ddeffrowyf, gyda thi yr wyf yn wastad, a myfyriaf am danat yn ngwyliadwriaethau y nos." Ond peth anghyffredin yw cynal cyfarfodydd gweddi am haner nos. Hoffwn wybod pa gyfyngder sydd arnynt, a pha beth maent yn geisio?

Gwrandawydd. Pedr, dy hen gyd-lafurwr, sydd wedi ei ddal gan Herod am bregethu Crist. Y maent wedi ei gondemnio, ei ddedfrydu, a'i garcharu, a'r "nos hon" y maent yn ei ddwyn allan i'w ladd.

Iago. O, y mae Herod am wneud âg ef fel y gwnaeth â minau. Gadawer iddo; nid yw y boen ond dim. Gweithiodd Pedr yn dda, ac y mae yn bryd iddo orphwys. Byddai yn dda genyf gael ei gwmni yma.

Gwrandawydd. Y mae y gweddiwyr yn dadleu am iddo gael ei waredu er mwyn yr achos; a sicrhant fod yn haws i ni yn y nef wneud heb Pedr, nag ydyw iddynt hwy ar y ddaear. Y mae yno yn awr ddiwygiad crefyddol, a Phedr yw ei fywyd.

## PEN. VI.

Iago. Yr wyf fi yn tewi; ond pwy a anfonir i'w waredu? A gaf fi fyned? Neu a gaiff Abraham, neu Moses, neu Dafydd, neu Daniel, neu y Llanciau fyned? Y maent oll yn hoffi myned ar neges fel hona i wlad y ddaear.

Gwrandawydd. Na, perthyn i'r dosbarth angylaidd y

mae y swydd. Hwy sydd wedi eu danfon i wasanaethu er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth. Gweision Arglwydd y nef sydd yn gwneud gwaith fel hwn, ac nid ei blant. Ond pa angel a ä i waredu Pedr?

MICHAEL. Af fi; myfi yw yr angel penaf. Af fi, ac af fi, medd mil o filoedd ar unwaith.

GWRANDAWYDD. Nid oes eisieu ond un o honoch. A chan mai Michael atebodd gyntaf, ac mai efe yw yr arch-angel, efe ga fyned.

IAGO. Gan mai tydi, Michael, yr ardderchog archangel, sydd yn myned, a chan fod ar yr eglwys ar y ddaear fwy o eisieu Pedr na'r eglwys yn y nef, yr wyf fi, yn enw yr holl seintiau, yn dywedyd, Duw yn rhwydd wrthyt. Brysia, canys y mae yn awr wedi haner nos. Y mae y ddaear yn mhell, a deallwyf mai y "nos hon" y bwriada Herod ddwyn allan Pedr i'w farwolaethu. Gwnaeth y gymwynas hyny â mi cyn dydd.

MICHAEL. Nid oes perygl i deulu y ddaear gael y blaen arnaf. Gwn am bellder y ffordd, canys bum yno o'r blaen. Medraf deithio yn gynt na'r trydan. Yr oeddwn i a'm cwmni wrth y preseb "liw nos," ac wrth y bedd "a hi eto yn dywyll;" a byddaf wedi dwyn Pedr o'r carchar cyn y deffry y dienyddwyr. Da bo'ch chwi, nefolion.

IAGO. Tangnefedd i ti, Michael. Gobeithio y medri waredu Pedr oddiarnynt. Ond os mynant dòri ei ben, chwi a ddeuwch yma gyda eich gilydd yn mhen ychydig oriau.

MICHAEL. (Wrtho ei hun). Rhyfedd iawn! y mae ymerodraeth fy Arglwydd yn yr eangderau yn fawr! Daethum heibio i beth aneirif o fydoedd,—gwelais fyrdd-iynau heno, na welswn erioed o'r blaen, er fy mod yn arfer crwydro y wybrenau er's miloedd o flynyddoedd. Cryn beth yw dyfod o hyd i'r ddaear fach yn eu plith. Tebyg ydyw i geisio tywodyn ar draethau y moroedd. Ond dyma hi, a dyma Jerusalem; dyma y carchar, a dyma Pedr. Druan ydoedd! y mae yn cysgu, ac y mae y ddau filwr yn cysgu; ond gallaf ei ddeffro ef heb yn wybod iddynt hwy, drwy ei daro ar ei ystlys. Pedr, Pedr, deffro.

PEDR. Y! oh! ah!

MICHAEL. Ië, y! oh! ah! Deffro, Pedr, deffro. Rhwbia dy lygaid.

PEDR. Ni allaf fi eu rhwbio; y mae fy arddyrnau

yn rhwym wrth freichiau y milwyr yma. Pwy sydd yna?

MICHAEL. Cenad o'r nef sydd yma?

PEDR. Rhyfedd iawn! Pan ddaethost ti yma i'm deffro, yr oeddwn inau yn y nef mewn breuddwyd, a byddaf yno mewn gwirionedd cyn pen ychydig oriau; canys y "nos hon" y maent yn myned i gymeryd fy mhen oddiarnaf, a thybiais mai Herod a'r dienyddwyr oeddynt yn fy neffro. Pa awr o'r nos ydyw?

MICHAEL. O gylch y nawfed awr, neu dri y bore.

PEDR. Maent yn sicr o ddyfod yma cyn y ddeuddegfed awr. Ai un o'r seintiau wyt ti?

MICHAEL. Nage—un o'r angylion.

PEDR. Pa beth yw y "goleuni sydd yn dysgleirio o'th amgylch?" Ni ddarfu i mi erioed sylwi ar y fath oleuni o'r blaen, er na welwn yn fy myw na chanwyll na lamp.

MICHAEL. Naddo, mae yn debyg. Yr wyf wedi cymeryd corff daearol; ond teflais dros hwnw un o'r gwisgoedd symlaf a feddaf gartref, ac o hòno y mae y goleuni yn dyfod.

PEDR. A fuost ti yn y ddaear yma o'r blaen?

MICHAEL. Do, lawer gwaith. Myfi yw yr angel fu yn cynhorthwyo ac yn gwaredu Daniel.

PEDR. O, mi wn. Ti yw Michael y "tywysog penaf," a'n "tywysog ni," a'r "archangel." A ydwyt yn gydnabyddus â llawer o'r seintiau sydd yn y nefoedd?

MICHAEL. Ydwyf, adwaenwn hwy oll. Yr wyf yn gydnabyddus iawn âg Adda, Noah, Abraham, Moses, Job, Dafydd, Daniel, y Llanciau, Stephan, a'r oll o ran hyny.

PEDR. A adwaenost ti Iago?

MICHAEL. Adwaen yn dda. Newydd ddyfod acw y mae.

PEDR. Pa fodd y mae?

MICHAEL. Dedwydd iawn. Ag ef y bum yn ymddyddan olaf cyn cychwyn. Mynai ddyfod yma yn fy lle; ond dadleuid mai gwaith y gweision yw peth fel hyn, ac nid gwaith y plant. Boddlonodd i aros gartref; ond dymunodd am i mi ei gofio atat ti yn y modd anwylaf.

PEDR. Diolch i ti, ardderchog archangel, am gario y fath genadwri i le mor isel. Yr oeddwn yn gydnabyddus iawn âg Iago. Byddai efe, ac Ioan, a minau, a'r Gwaredwr gyda ein gilydd yn aml. Nyni oedd gydag ef ar fynydd y gweddnewidiad, a ni aeth bellaf gydag ef yn yr ardd; yr

oeddym yn ei ymyl pan ddaliwyd ef. Yr wyf yn meddwl llawer am Iago, am fy mod newydd ei weled yn cael ei "ladd a'r cleddyf," a fy mod inau i gael yr un peth heno. O diolch! byddaf gyda Iago, ïe, gyda'r Gwaredwr yn y nef, cyn y cyfyd haul!

MICHAEL. Na, y mae dy eisieu, ac y mae dymuniad am i ti aros ar y ddaear am ychydig eto; ac yr ydwyf fi wedi dyfod yma i dy waredu di.

PEDR. Gwell fyddai genyf fi gael tòri fy mhen, a thòri y llinynau sydd yn rhwymo fy yspryd wrth glai, fel y gallai ehedeg i'r nef, nag aros yma; eithr yr wyf yn foddlon i aros ar y ddaear os oes gan y Gwr a wedais rywbeth i mi i'w wneud. Ond nid wyf yn meddwl fod modd fy ngwaredu. Y mae fy arddyrnau wedi eu rhwymo â chadwynau wrth y ddau filwr yma. Y mae dwy wyliadwriaeth, a'r porth mawr haiarn cloedig rhyngwyf ag allan; ac wrth hwnw y mae dau filwr yn rhwym o fod yn effro i ddal cleddyfau noethion; ac y mae deuddeg o filwyr eraill yn cysgu yn y ddwy wyliadwriaeth. Nid oes modd fy rhyddhau oddiwrth y ddau filwr yma heb eu deffro; a phan ddeffry y rhai hyn, a deall fod rhywun am ddatod fy nghadwynau, bloeddiant ar y ddau arall sydd yn effro, a bloeddiant hwythau ar y deuddeg sydd yn ymyl. Yna bydd y "pedwar pedwariaid" gyda'u gilydd, a holl nerthoedd y carchar wedi deffro: ac ni wn pa fynyd y bydd Herod a'r dienyddwyr yn dyfod i fewn.

MICHAEL. Gad rhwng dy Dduw a hyn: cyfod di.

PEDR. Cyfodi! ni chyfodwn i yn fy myw. Onid yw fy nwy fraich yn rhwym wrth y ddau filwr yma? Pe ba'wn yn gwneud osgo i godi, byddwn yn sicr o'u deffro.

MICHAEL. Dywedaf eto, gad rhwng dy Dduw a minau â hyny. Dyro i mi dy law. Wel, dyna ti ar dy draed. Pa le y mae dy gadwynau?

PEDR. Nis gwn. Nid ydynt yma. O! dyna hwy wrth freichiau y ddau filwr! Syndod! Pa fodd y datodwyd hwy, ac yn enwedig pa fodd y gwnaed hyny heb ddeffro y milwyr?

MICHAEL. Gwisga am danat, Pedr.

PEDR. O, tydi ardderchocaf archangel, caniatâ i mi roddi un awgrymiad,—A fyddai ddim yn well i mi gymeryd fy nillad o dan fy nghesail, a gwisgo am danaf wedi myned i'r heol?

MICHAEL. Na, gwisga am danat fel arferol. Y mae gormod o ledneisrwydd yn y nef i arwain neb i'r heol yn eu dillad nos.

PEDR. Dyma fi wedi gwisgo fy nillad ond fy sandalau. Gwell i mi gario y rhai hyny—cerddaf yn llawer ysgafnach hebddynt, a byddaf yn aml yn dyfod o fy ystafell wely heb wisgo am fy nhraed.

MICHAEL. Na, Pedr, gwisga dy sandalau.

PEDR. Y mae genyf hen fantell eto—cariaf hòno ar fy mraich. Dyna fel y gwnaf y rhan amlaf.

MICHAEL. Na, gwisga dy fantell. Yn awr, wyt ti yn barod? A yw pob peth wedi ei fyclu, a phob pin yn ei le?

PEDR. Ydwyf, fy arweinydd angylaidd.

MICHAEL. Wel, yn awr dilyn fi.

PEDR. Gwnaf. Y mae yn hawdd gwneud hyny yn ngoleuni dysglaer dy wisg. Dyma ni yn ymyl y "wyliadwriaeth gyntaf,"—y mae arnaf beth ofn, canys y mae yna chwech o filwyr yn aros bob nos.

MICHAEL. Gwn hyny, a dyma ni yn myn'd heibio iddi; dystawrwydd fel y bedd sydd yma, ac y mae y chwe' milwr yn cysgu. A dyma ni wrth yr "ail wyliadwriaeth;" yr un fath y mae yma, a'r chwe' milwr yn cysgu.

PEDR. O! y "porth haiarn" sydd nesaf. Y mae hwnw yn drwm ofnadwy, ac wedi ei folltio yn y dull sicraf. Ac y mae y ddau filwr sydd wrth hwnw yn rhwym o fod yn effro—byddai yn berygl bywyd iddynt gysgu.

MICHAEL. Gad, meddaf, rhwng dy Dduw â'r porth haiarn, y bolltau, a'r milwyr.

PEDR. Ni allaf yn fy myw beidio meddwl am dano. Dacw y porth mor gadarn gauedig ag erioed! Na, y mae rhyw drwst o'i amgylch:—y milwyr sydd yn effro, ac yn gwneud rhywbeth. Yn wir, nid oes yr un *bar* arno! Y mae yn ymagor o hono ei hun;—dacw oleuni i'r heol!

MICHAEL. Dywedais am i ti fy nilyn i, a dyma ninau yn awr ar yr heol. *Good bye.*

PEDR. *Good bye*, angel anwyl. Cofia fi atynt yn y nef acw, yn enwedig at fy Ngwaredwr ac Iago. Buasai yn well genyf gael dyfod adref gyda thi heddyw; ond rhaid boddloni aros am ychydig eto yn ngwlad y gelynion.

MICHAEL. *Good bye.* Na ddigalona, Pedr, cadwaf fi ac eraill ein llygaid arnat, er na elli di ein gweled.

## PEN. V.

PEDR. (Wrtho ei hun ar yr heol). Pa le yr ydwyf fi? Yr wyf yn cofio i mi gysgu neithiwr yn nghell bellaf y carchar, yn rhwym wrth ddau filwr. Yr wyf yn awr yn rhydd ar yr heol yn Jerusalem, neu yr wyf yn breuddwydio.

DYCHYMYG. Breuddwydio yr wyt ti yn sicr.

PEDR. Na, yn wir, myfi sydd yma, ac yr wyf ar yr heol. Mae yn nos—dacw ser ar yr awyr. Rhaid mai Pedr wyf fi, ac i Dduw ddanfon ei angel i'm gwaredu o'r carchar, ac iddo fy ngadael ar yr heol. I ba le yr af yn nhrymder y nos? Y mae pawb yn eu gwelyau, ac yn cysgu.

DYCHYMYG. Gwell i ti frysio i rywle. Pe cai y gelynion afael arnat, byddit yn y carchar yn ol; ac nid yw yn mhell oddiwrth awr y dienyddio. Y mae Herod a'i weision, yr archoffeiriaid a'r dienyddwyr, yn codi yn fore ar ddiwrnod fel hyn.

PEDR. Na, nid oes cyffro arnaf fi. Gan fod Duw wedi danfon ei angel i'm dwyn o'r carchar, bydd yn sicr o gadw ei lygad arnaf pa le bynag yr af. Yr wyf yn meddwl yr af i dŷ Mair. Pe yn curo yno, ac iddynt glywed ac adnabod fy llais, yr wyf yn sicr, os na chodai Mair i agor y drws, y codai Ioan y mab; a phe na byddai efe gartref, cyfodai Rhode y forwyn: y mae hi yn fy adnabod i, ac yr ydym yn gryn ffrindiau.

DYCHYMYG. Gan dy fod yn myned i dŷ Mair, gwna frys.

PEDR. Na, cymeraf bwyll i fyned ac i edrych o'm hamgylch. Dyma fi yn gadael y carchar o'm hol. Dyma lys yr archoffeiriaid a phalas Herod. Y mae yna oleuni. Digon tebyg eu bod yn hwylio i fyned i dòri fy mhen i. Dyma fryn Moriah ar y dde, lle y mae y deml. Y mae acw oleu —addolir yn ddigon tebyg gan y gwylwyr ydynt yn cadw y tŷ y nos. Dyna yr ochr arall glogwyn bach Calfaria, lle y bu y croeshoeliad. Dyna oleu yn rhyw ffenestr fach yn y fan yna, ac yn y fan acw. Efallai bod yn y manau hyn rywrai yn gwylio y cleifion. Dyma yr heol lle y mae tŷ Mair. Dyma y tŷ—y mae yma oleu! Ofnwyf fod Mair, druan, yn sâl. Y mae yma ganu! Af at y drws. A allwn i ddim deall y geiriau, tybed, wrth roddi fy nghlust wrth fortais y clo? Dystawrwydd, awelon! deliwch eich anadl

am fynyd. Mair sydd yn rhoddi penill allan—adwaen ei llais; ïe, dyma fe:—

"Yn ddiddig heb neb ond efe,
Trwy'r ddaear oer ddyrys mi af,
Er newid tymhorau a lle,
Terfysgu fy meddwl ni wnaf;
Y carchar yn balas a fydd
Nid ofnaf na gw'radwydd na bri;
Y nos geir mor oleu a'r dydd,
Os Iesu fydd gyda myfi."

MAIR MAGDALEN. Ai tybed fod y carchar yn balas, y cadwynau yn rhyddid, a'r nos yn ddydd i Pedr druan heno?

MAIR MAM IOAN. Ydyw, os yw Iesu gydag ef. A wnai di, Mair Magdalen, weddio ychydig yn gyhoeddus drosto cyn i ni ymadael?

MAIR MAGDALEN. O! Arglwydd, y mae hi yn nesu at y bore, ac awr dienyddio Pedr yn ymyl. O! fy Nhad, er mwyn dy bobl a dy achos, anfon dy angel i'w waredu ef o law Herod a'r Iuddewon. Ond os mewn rhwymau yn y carchar y rhaid iddo fod, bydd yn gysegr bychan iddo yno; ac os arweinir ef i'w ddienyddio yn mhen ychydig oriau, bydd gydag ef yn y dienyddle. Nertha ef i ddweyd rhywbeth cyn marw na anghofia y gelynion, ac a fydd yn godiad byth i dy bobl a dy achos. Gad iddo cyn dyfod adref, yn debyg i dy ferthyr Stephan, "weled y nef yn agored, a Mab y dyn yn sefyll ar ddeheulaw Duw." Ond, O! Dad, ein dymuniad blaenaf yw am i ti ei waredu. Gwrandewaist weddi Daniel yn ffau y llewod, a chafodd y Babiloniaid a'u brenin wybod fod Duw gan blant y gaethglud. Gwrandewaist weddi Elias ar ben Carmel, a chafodd yr holl ddaear wybod fod Duw yn Israel. Gwrando ein gweddi ninau, fel y gwypo Herod a'i swyddogion, yr archoffeiriaid, yr holl bobl, a holl dylwythau y ddaear o hyn hyd ddiwedd amser fod Duw yn Seion. Gwrando ni, O! ein Tad, gwrando ni!

PAWB. Amen, Amen, ac Amen.

MAIR MAM IOAN. Canwn eto wrth ymadael—

"Trig yn Seion, aros yno, lle mae'r llwythau'n d'od yn nghyd,
Byth na 'mad oddiwrth dy bobl, nes yn ulw'r elo'r byd."

PEDR. Dyna y cyfarfod drosodd, a'r canu wedi darfod. Curaf y drws bellach, ac y mae yn nesu at yr unfed awr ar ddeg o'r nos. Rap tap, rap tap, tap.

MAIR. Dystawrwydd! y mae yna rywun yn curo y drws.
PEDR. Rap tap, tap, tap.
MAIR. Oes, yn wir; Rhode, rhed.
RHODE. Pwy sydd yna y pryd hyn o'r nos?
PEDR. Myfi sydd yma, agor.
RHODE. Pwy wyt ti?
PEDR. A adwaenost ti mo fy llais? Bum yma o'r blaen lawer gwaith. Do, buost yn agor i mi ddegau o weithiau.
RHODE. Gwn, mi wn pwy sydd yna. Mi dybiais pan glywais y llais gyntaf, ond yr wyf yn awr yn sicr. Rhedaf yn ol at fy meistres a theulu y cyfarfod gweddi. Meistres anwyl, mamau a thadau, brodyr a chwiorydd, y mae ein gweddiau wedi eu gwrando, ac y mae Pedr yn sefyll o flaen y porth!
LLAWER. Taw, eneth—ynfydu yr wyt.
RHODE. Nage, y mae efe yn sicr o fod yna.
LLAWER. Ei angel ef sydd yna.
RHODE. Nage yn wir, y mae efe yna ei hun.
MAIR. A welaist ti ef?
RHODE. Naddo, ond clywed ei lais; ac mi a'i hadnabyddwn ef yn mhlith mil. Bum yn ei glywed yn galw, ac yn agor iddo ddegau o weithiau.
PEDR. Rap tap, tap, tap, tap.
RHODE. Dyna efe yn curo eto. Efallai y byddai yn fraint gan fy meistres, neu un o honoch chwi, fyned ac agor y drws, onide, y mae yn dda genyf fi fyned. Nid oes arnaf fi ofn cyfarfod na'i ysbryd na'i angel ef, canys yr wyf yn sicr ei fod ef yna ei hunan.
MAIR. Wel, af fi. Y mae yna rywun yn curo y drws yn debyg iawn fel y byddai Pedr. Pedr anwyl, ai ti sydd yna?
PEDR. Ië, Mair anwyl.
MAIR. Tyred i mewn, anwylyd yr Arglwydd, at y brodyr a'r chwiorydd. Buom yma drwy y nos yn gweddio ar dy ran.
PAWB. O! diolch! Gadawer i mi ysgwyd llaw ag ef, ac i minau ei gofleidio. Haleluia! Diolch eto, gwrandawyd ein gweddiau. Gogoniant:—

"Ni fethodd gweddi daer erioed a chyrhaedd hyd y nef."

PEDR. Dystawrwydd! dystawrwydd! anwyl frodyr a chwiorydd, a phlant; adroddaf i chwi fel y bu. Yr oeddwn i yn cysgu neithiwr yn nghell bellaf y carchar, a'm breich-

iau yn rhwym wrth ddau filwr; a daeth ataf yn y nos angel dysglaer,—deffrodd fi drwy daro fy ystlys—cododd fi, a syrthiodd fy nghadwynau oddiwrthyf. Yr oedd y carchar yn ddeg goleuach na dydd gan ddysgleirdeb ei wisgoedd. Gorchymynodd i mi roddi fy nillad am danaf, hyd yn nod fy sandalau a'm cochl, a'i ddilyn ef. Gadawsom y ddau filwr oeddynt un o bob tu i mi, yn cysgu, a'm cadwynau i wrth eu breichiau. Daethom heibio i'r wyliadwriaeth gyntaf, lle yr oedd chwech o filwyr—oll yn cysgu. Yn yr un modd yr oedd yr ail wyliadwriaeth. Wedi i ni ddyfod at y porth haiarn mawr, ymagorodd hwnw. Ac wedi dyfod i'r heol, gadawodd yr angel fi, ac aeth adref. Dywedais wrtho y buasai yn dda genyf fyned gydag ef, a dymunais arno fy nghofio atynt yn y nefoedd, yn enwedig at Iago ac at fy Ngwaredwr.

PAWB. O! diolch! moliant! gogoniant!

PEDR. Dystawrwydd! nid wyf wedi gorphen. Wedi i'r angel fy ngadael y daethum ataf fy hun, ac y deallais nad breuddwydio yr oeddwn. Dechreuais feddwl i ba le yr awn y pryd hyny o'r nos, a phenderfynais ddyfod yma. Nid oeddwn yn dysgwyl y byddai neb ar eu traed, llawer llai y dysgwyliwn y byddai yma y fath luaws yn cadw cyfarfod gweddi ar fy rhan. Gellwch chwi adrodd y 'stori yna wrth y neb a fynoch, yn enwedig dywedwch hi wrth Iago dduwiol, brawd yr Arglwydd. Gwelaf nad yw efe yma. Rhaid i mi yn awr fyned i le arall.

## PEN. VI.

CEIDWAD Y CARCHAR. Y mae hi yn dyddio dranoeth y Pasg. Dyma fore dienyddiad y Pedr yna. Yr wyf yn sicr y daw y dienyddwyr a'r brenin yma yn fore. Dyna fel y daethant i ladd Iago â'r cleddyf. Mae o bwys i ni fod yn barod. Af i'r gell bellaf i edrych am y carcharor. Hai! agorwch. Pa le y mae y condemniedig?

MILWR. Nis gwyddom, syr. Pan ddeffroais i a'm cydfilwr, cawsom ei gadwynau wrth ein harddyrnau; ond nid oedd efe yma. Buom yn chwilio am dano er pan ddechreuodd oleuo, ac ni chawsom fod neb wedi ei weled.

CEIDWAD. Och fi! pa beth a wnaf? Yr wyf yn cael fy nghynhyrfu i ladd fy hun. Y mae awr y dienyddiad wedi dyfod, ac yr wyf yn dysgwyl Herod a'r dienyddwyr at y

porth bob mynyd. Dyna y gloch fawr yn canu—rhaid eu bod yna.

HEROD. Bore da, Mr. Ceidwad, dyma ni wedi dyfod. A yw pob peth yn barod,—y condemniedig wedi cael ei foreufwyd, ac ymwisgo?

CEIDWAD. Na, fy arglwydd frenin, yr ydym wedi ei golli ef.

HEROD. Wedi ei golli! Pa fodd y gallai hyny fod?

HEROD. Nis gwn, O frenin. Bum i yn manwl holi y ddau yr oedd wedi ei rwymo wrthynt, ac ni feddent ddim i'w ddweyd, ond eu bod pan ddeffroisant wedi cael ei gadwynau wrth eu harddyrnau. Ni welwyd ef gan y ddau filwr oeddynt yn gwylio y drws, ac a ddylasent fod yn effro. Bum yn holi y deuddeg milwr eraill a gadwent y ddwy wyliadwriaeth, ac nid oedd yr un o honynt wedi ei weled! ond addefent iddynt gael yn agored bore heddyw y drws mawr haiarn sydd yn agor i'r heol.

HEROD. Wel, dyna ddigon o brawf ei fod wedi dianc. Ni bu erioed y fath beth. Priodolir y waredigaeth yma eto i wyrth, a llwydda crefydd yr Iesu yna yn fwy nag erioed. Cymerer y "pedwar pedwariaid" a ddylasent ei gadw, a rhodder hwy i farwolaeth. Y mae yna ganoedd yn dysgwyl gweled y dienyddiad. Y mae arnaf fi gywilydd bod yn Jerusalem, ac ni arosaf chwaith; af i ffordd i'r palas sydd genyf yn Cesarea.

BLASTUS. Fy arglwydd frenin Herod, y mae yna foneddigion o Tyrus a Sidon wedi galw. Cydnabyddant eu bod hwy, eu dinasoedd, a'u gwledydd, wedi cyfiawn haeddu gwg y brenin; ond y maent yn ostyngedig ddymuno ei faddeuant.

HEROD. Gwyr Tyrus a Sidon, gwrandewch. Yr ydych wedi troseddu yn fy erbyn i ac yn erbyn fy ngwlad, gan gyfiawn haeddu fy ngwg. Byddai yn hawdd i mi gloi ydlanau Palestina a manau eraill oddiwrthych, ac felly eich newynu. Neu gallwn fyned i ryfel â chwi; medrwn gael holl allu Rhufain wrth fy nghefn, a'ch ysgubo dros y ceulanau i For y Canoldir; ond yr wyf o fy mhenarglwyddiaethol ewyllys da yn estyn maddeuant i chwi.

Y BOBL. Hwre! hwre! duw ydyw efe. Lleferydd duw yw ei leferydd! A welwch chwi ddysgleirdeb ei aurfotymau, ac ysplander perlau ei goron! Ac O! ei hyawdledd! Paham yr ymffrostia Athen yn ei Demosthenes, a Rhufain yn ei Cicero,—pa beth fu eu hyawdledd hwy wrth

hyawdledd y brenin Herod? Rhaid ei fod ef yn fwy na dyn!

Herod. Yr wyf finau wrth edrych ar fy ngwisgoedd a'm coron—meddwl am fy hyawdledd a'm penarglwyddiaethol ras yn estyn maddeuant i wyr Tyrus a Sidon yna; ac yn enwedig wrth glywed y bobl yma yn fy mrolio, a'u gweled yn fy addoli, yr wyf finau yn meddwl y rhaid fy mod yn fwy na dyn. Duw ydwyf! Ond yr wyf yn sal fel dyn. O! yr wyf yn boenus ofnadwy! Y mae arnaf ofn fod yr un afiechyd arnaf ag a laddodd Herod Fawr, fy nhad. Clywais am erlidwyr eraill yn cael yr un afiechyd, oeddynt wedi byw yn dda ac ymbesgi fel finau. Cymerwch fi i fy mhalas. Dyn ydwyf fi, ac y mae fy nghydwybod yn dweyd mai dyn drwg ydwyf hefyd.

Gair Duw. "A chan bryfed yn ei ysu, efe a drengodd."

---

## PAUL.

## PENOD I.

### *Paul a Silas yn ngharchar Philippi.*

Act xvi.

Ynad. Pa gyhuddiadau ddygir yn erbyn Paul a Silas?

Tyst. Y maent yn pregethu rhyw Grist, yn enill dysgyblion, yn eu dysgu, ac yn cythryblu yr holl ddinas.

Ynad. Nid oes eisieu moment o amser i ystyried cyn eu cyhoeddi yn euog, a'u dedfrydu i ddyoddef. Curer hwy â gwiail, yna tafler hwy i'r carchar agosaf i mewn; rhodder eu traed yn y cyffion, a gorchymyner i'r ceidwad eu cadw yn ddiogel.

Carcharor. Pa faint yw hi o'r nos?

Carcharor arall. Haner nos.

Carcharor. Dyna swn canu a gweddio yn y carchar agosaf i mewn! Rhaid mai y ddau ddyn y sicrhawyd eu traed yn y cyffion neithiwr sydd yn gwneud. Yr wyf yn synu eu bod yn *canu*.

Carcharor arall. Dyna fellten! dyna daran! Dyna fellten oleuach! dyna daran uwch! Y mae seiliau y carchar yn crynu! Dacw y drws mawr yn agored! Y mae y drysau yn agored bob un! Y mae y gadwyn oedd am fy

mraich wedi datod! Ydynt, y mae cadwynau y carcharorion oll wedi datod! Y mae y ddau oeddynt a'u traed yn y cyffion yn rhyddion!

CEIDWAD. Pa le yr wyf? Ai ceidwad carchar Philippi ydwyf? Pa un ai yn nghwsg ai yn effro yr wyf? Bum yn cysgu, a gwelais y mellt a'm llygaid yn nghauad, a theimlais seiliau y carchar yn siglo; ond yr wyf yn awr yn effro. Darllenais o'r blaen fod rhyw Dduw yn gwneud ffordd i fellt y taranau, ond heddyw cefais brawf o hyny. Deallaf fod holl ddrysau y carchar yn agored, a chadwynau pob carcharor wedi datod. Diau eu bod oll wedi dianc, ac yn eu plith y ddau garcharor a ddaethant yma neithiwr. Och! pa beth a wnaf? Lleddir fi! Gwell na hyny fyddai i mi ladd fy hun â'r cleddyf sydd yn fy llyw.

PAUL. Ymbwylla, geidwad! Na wna i ti dy hun niwaid; yr ydym ni yma oll.

CEIDWAD. O! feistriaid! gweision y Duw goruchaf, deuwch o'ch cell. Daliaf oleuni i chwi fy hunan, ac ni waeth genyf pwy a'm gwel. Golchaf eich briwiau, a deuwch at fy mwrdd i fwytaf. O! beth a wnaf fel y byddwyf gadwedig?

PAUL. Cred yn yr Arglwydd Iesu, a bedyddier di, a chadwedig fyddi.

CEIDWAD. Y mae genyf newydd da i chwi, foneddigion. Anfonodd yr ynadon y *Ceisiaid* yma i'ch rhyddhau.

PAUL. Ni fynwn ein rhyddhau felly. Y maent wedi ein curo a'n carcharu heb ein barnu, a ninau yn *Rhufeiniad;* ac y maent yn awr am ein gyru allan yn ddirgel. Na, rhaid i'r ynadon eu hunain ein harwain ni allan.

CEISIAD. Gyda chenad yr ynadon, yr ydych mewn perygl, foneddigion. Y mae y ddau ddyn a driniwyd yn greulawn neithiwr yn Rhufeiniaid. Nid pobl gyffredin ydynt. Gwyddant nad oedd cysgod cyfraith yn eu curo a'u carcharu heb eu profi; a bod deddfau ymerodraeth Rhufain o'u plaid. Ni ddeuant allan gyda cheidwad y carchar na ninau: rhaid i chwi ddyfod a'u harwain allan wrth liw dydd.

YNAD. Wel, awn gyda'n gilydd. Foneddigion dyeithr, da chwi, deuwch allan, ac ewch o'n dinas. Gwyddom ein bod wrth eich curo a'ch carcharu wedi troseddu deddfau Rhufain; ac os apeliwch at Cesar, bydd y canlyniadau i ni yn ofnadwy. Ewch ymaith yn ddystaw y waith hon, da chwi.

PAUL. Cydsyniwn; gallwn wneud hyny heb ddigio ein Duw. Ffarwel, ynad; ffarwel.

## PEN. II.

### *Paul, y Gof a'i Weision.*

ACT. XIX.

Y GOF. Fy anwyl ben gwas, nid wyf yn cofio yr alwedigaeth o wneud delwau mor ddifywyd. Rhaid i mi ymadael a haner fy ngweithwyr. Byddwn yn arfer cael eirchion am ddelwau y dduwies Diana o holl Asia, a llawer o Groeg; a byddai pawb a ymwelent ag Ephesus yn prynu delw genyf. Ond yn awr nid oes eirchion yn dyfod o unman, na nemawr ddyeithrddyn yn troi i'm masnachdy; ac y mae rhyw fariaeth ar bobl y dref, nid oes yma ddim prynu. Y mae genyf ganoedd o dduwiau a duwiesau arian yn gorwedd ar draws eu gilydd, heb neb yn gofyn eu pris. A wyddost ti ddim pa beth yw yr achos?

GWAS. Gwn, syr, yn burion. Onid oes yna ryw genhadwr o'r enw *Paul* yn dweyd yn erbyn delwau a duwiau, ac yn cymhell ei Dduw ei hun—y Duw, medd efe, a wnaeth nef a daear? Nid yw yn bosibl gweled hwnw, ac ni oddef wneud delw o hono, na llun dim sydd yn y nefoedd uchod, na'r ddaear isod.

GOF. Pa le y mae y cenhadwr hwnw wedi bod?

GWAS. Bu drwy yr holl wlad. Y mae yn feistr yn y Groeg a'r Hebraeg. Bu yn Thessalonica, Berea, Athen, Corinth; y mae yn awr yn Ephesus, ac yn llwyddo yn mhob man.

GOF. Yn y manau yna yr oedd fy mhrif gwsmeriaid i. Y mad delwau yn Athen mor amled a'r dynion.

GWAS. Ac y mae yn Ephesus yma ganoedd o Iuddewon a Groegiaid hefyd wedi taflu ymaith eu delwau.

GOF. Wel, yn sicr, rhaid gwneud rhywbeth i'r dyn! A weli di yn dda alw yn nghyd gynifer a ellir gael o'r gofaint ydynt yn gweithio delwau o'r dduwies Diana; a byddai yn dda iddynt ddwyn gyda hwy gymaint a ellir gael o werinos mwyaf ofergoelus y ddinas.

GWAS. Gwnaf, meistr, ac y maent yn sicr o ddyfod. Yr wyf wedi bod yn siarad am y mater â llawer o'm cydweithwyr ydynt allan o waith, ac y maent yn llawn awydd am y fath gyfarfod.

Gof. Fy nghyfeillion, a'm cydweithwyr! Da genyf eich cyfarfod yn dorf mor lluosog. Y mae genyf araeth bwysig i'w gwneud. Gobeithio y medraf beri i chwi fy nghlywed.

Y Dorf. Llefara, O, ein meistr.

Gof. Ha wyr! chwi a wyddoch mai wrth wneud delwau arian o'r dduwies Diana yr ydym ni yn cael ein bywioliaeth.

Y Dorf. Gwyddom. Mawr yw Diana yr Ephesiad!

Gof. Ië, fy nghydweithwyr; ond y mae Paul wedi perswadio miloedd, nid yn unig yn Ephesus, ond drwy holl Asia a Groeg, nad yw hi yn dduwies, ac nad oes dim yn dduwiau a wneir â dwylaw.

Y Dorf. Ymaith a Phaul a'i gyfeillion oddiar y ddaear. Tafler hwy at anifeiliaid Ephesus.

Gof. Ië, fy nghydweithwyr; byddant wedi ein handwyo ni os cânt fyw. Nid oes gwaith yn dwyn y fath elw a gwneud delwau ar lun Diana, ac ni fedrwn ni wneud dim arall.

Y Dorf (am ddwy awr). Mawr yw Diana yr Ephesiaid! *Mawr* yw Diana yr Ephesiaid! Mawr yw Diana yr Ephesiaid! Pa le y mae Paul a'i gymdeithion? Cymerer hwy i'r chwareufa, a bwrier hwy at y llewod a'r anifeiliaid rheibus.

Cofrestrydd y ddinas. Ha wyr, gwrandewch; dygwyd y dynion hyn yma, y rhai nad ydynt yn yspeilwyr temlau, nac yn gablwyr eich duwiau chwi. Od oes gan y crefftwyr ryw bethau yn eu herbyn, y mae lleoedd pwrpasol i'w trin; ni fedd y llys hwn ddim i'w wneud â hwy. Y mae y terfysg heddyw yn hollol afreolaidd; ac os clyw awdurdodau Rhufain am dano, yr ydych mewn perygl.

Paul. Yr wyf fi yn gweled mai *elw* oedd cyffes ffydd y Gof arian, a bod llawer fel yntau yn ymofyn am elw yn nghysgod eu crefydd. Y ddelw aur yw y fwyaf poblogaidd yn y byd.

## PEN. III.

### *Paul ar risiau y Castell.*

Act. xxii. a xxiii.

Dacw Paul yn sefyll i amddiffyn ei hun ar risiau Castell Antonia, Jerusalem, lle y cedwir carcharorion, ac yr erys y milwyr Rhufeinig.

Paul. Ha wyr, frodyr, a thadau, gwrandewch fy amddiffyn i wrthych. Iuddew ydwyf a anwyd yn Tarsus, Cilicia.

Pan yn ieuanc, anfonodd fy rhieni fi i ysgol Gamaliel yn Jerusalem yma. Nid oes neb o honoch, ac ni bu neb yn dwyn mwy o sel dros y grefydd Iuddewig na mi y pryd hyny. Tybiwn nad oedd crefydd ond hi; a gwnawn gydwybod i erlid pwy bynag a soniai am grefydd Crist. Bum yn cadw dillad y rhai a labuddient Stephan. Bum yn Jerusalem a'r gymydogaeth yn rhwymo a dodi yn ngharchar wyr a gwragedd hefyd; a chefais lythyrau gan yr archoffeiriaid a'r henuriaid i wneud yr un peth yn Damascus.

IUDDEW. Rhyfedd oedd i un wedi ei ddwyn i fyny yn Iuddew dderbyn Cristionogaeth!

PAUL. Fel hyn y bu. Pan yn myned i Damascus i erlid, daeth Iesu i'm cyfarfod ar haner dydd. Yr oedd dysgleirdeb ei gerbyd yn mron diffodd yr haul; a bum yn ddall am dridiau wedi edrych arno. Clywais ei lais yn dywedyd, "Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?" "Pwy wyt ti?" meddwn inau. "Iesu o Nazareth," atebai yntau. A dywedodd y cawn i fyned o Jerusalem i'w bregethu, ac yr anfonai efe fi yn mhell at y Cenhedloedd.

IUDDEW. Y mae y creadur yn son am fyned i bregethu i'r Cenhedloedd! Pwy fedr ei oddef? Ymafler ynddo. Ymaith a'r cyfryw un oddiar y ddaear. Nid cymwys ei fod yn fyw.

LYSIAS Y PENCADBEN. Beth sydd? Pa beth yw y twrw yma? Beth wnaeth y dyn? Pwy ydynt y tystion yn ei erbyn?

IUDDEW. Gwadu Iuddewiaeth y mae, a dweyd ei fod yn myned i bregethu Cristionogaeth i'r Cenhedloedd, ac y mae yma ddigon o dystion.

PENCADBEN. Cymerer ef i'r Castell, a holer ef drwy fflangellau. Gwneler iddo dystio yn ei erbyn ei hun; ac os gwrthoda, curer ei gnawd oddiar ei esgyrn.

PAUL. Nid yw yn iawn, Mr. Canwriad, eu bod hwy yn rhwymo ac yn fflangellu gwr o *Rufeiniad*, ac heb ei gondemnio.

CANWRIAD. A wel y pencadben yn dda wrando? Y mae y gwr yna yr wyt wedi gorchymyn ei rwymo a'i fflangellu yn Rhufeiniad, medd efe, ac yn gwybod nad yw yn iawn ymddwyn fel hyn tuag ato, yn enwedig cyn ei gondemnio.

PENCADBEN. Rhufeiniad! pa fodd y mae felly? Tybiais iddo ddweyd yn nechreu ei araeth, "Gwr wyf fi, yn wir, o Iuddew." A wyt ti yn Rhufeiniad, Paul?

PAUL. Ydwyf, Cadben.

PENCADBEN. Groegwr wyf finau; ond prynais y fraint o fod yn ddinesydd Rhufain, a chostiodd i mi swm mawr. Ni fedraf gredu fod genyt ti fodd i'w phrynu.

PAUL. Nid oedd eisieu i mi ei phrynu; cefais fy ngeni yn freiniol. Yr oedd Tarsus yn ddinas rydd; a'm hynafiaid i drwy eu ffyddlondeb i Rufain a enillodd iddi ei rhyddid.

PENCADBEN. Datoder ei rwymau. Yr wyf yn galw y llys yn nghyd eto yfory i holi yn fanylach i'r mater.

LUC. Aeth y dorf benben. Mynai un dosbarth nad oedd dim bai arno; a mynai y dosbarth arall ei rwygo yn ddarnau.

Y PENCADBEN. Rhaid symud y carcharor i Cesarea i'w brofi. Nid oes modd ei brofi o flaen y Sanhedrim yma. Cymerer ef yno ar farch, yn cael ei gylchynu gan 60 o wyr meirch, a 400 o wyr traed, oll yn arfog. Boed iddynt fyned yn y nos rhag i'r lluaws eu gweled. Anfonaf finau lythyr gyda chwi i esbonio y mater i Ffelix.

## PEN IV.

### *Paul o flaen Ffelix.*

ACT. XXIV.

YMOFYNYDD. Pa beth yw y cynhwrf sydd yn Jerusalem heddyw?

LUC. Heddyw y mae prawf Paul gerbron Ffelix yn Cesarea, a hwylio i fyned yn ei erbyn y maent.

YMOFYNYDD. Pwy sydd yn myned?

LUC. Ananias yr archoffeiriad, ac aelodau y Sanhedrim. Cyflogasant Tertulus y cyfreithiwr a'r siaradwr mawr i fyned gyda hwy.

FFELIX. Foneddigion y llys; mater Paul sydd i fod o dan ein sylw heddyw. Ychydig wn i am dano, nac am y cyhuddiadau sydd yn ei erbyn. Cefais lythyr yn ei gylch oddiwrth Lysias y pencadben. Tybia efe na wnaeth ddim yn haeddu angeu na rhwymau. Anfonwyd ef yma i'w brofi am fod yr Iuddewon yn cynllunio i'w lofruddio.

TERTULUS. Ardderchocaf Ffelix. Y mae yn anrhydedd a bendith i'n cenedl ni gael y fath foneddwr a thi yn rhaglaw. Y mae y carcharor yn un o sect Iesu o Nazareth; ac wrth bleidio hwnw, wedi bod yn codi terfysg yn mhlith yr

Iuddewon drwy yr holl fyd. Daeth i Jerusalem, ac amcanodd halogi y deml. Daliasom ef, ac yr oeddym am ei farnu a'i gosbi yn ol ein cyfraith ni; ond cymerwyd ef oddiarnom drwy orchymyn Lysias y pencadben, ac anfonwyd ef atat ti. Y mae ein hybarch arochoffeiriad Ananias, a'r henuriaid, yn barod i dyngu i'r oll wyf yn ddywedyd.

FFELIX. Paul, y carcharor, ti a glywi yr hyn a ddywedir yn dy erbyn. A oes genyt gyfreithiwr i ddadleu dy achos, a thystion o'th ddiniweidrwydd?

PAUL. Na feddaf, fy arglwydd. Nid oes genyf fodd i dalu i gyfreithiwr. Gallaswn gael tystion o'm diniweidrwydd o bob man lle y bum, ïe, o Jerusalem ei hun, oni bai fod ofn dyn, a boddio archoffeiriaid yn eu cadw draw.

FFELIX. Y mae rhyddid i ti ateb drosot dy hun.

PAUL. Ardderchocaf raglaw; da genyf finau dy fod yn foneddwr o brofiad, am i ti fod yn farnwr ar y genedl hon er's llawer blwyddyn. Nid oes, syr, ond deuddeng niwrnod er pan wyf fi yn Jerusalem. Ni bum i yn ymddadlu yn y deml, nac yn terfysgu y bobl yn y synagogau, nac yn y ddinas. Ni fedrant brofi yr un o'r cyhuddiadau a ddygant yn fy erbyn. Pa le y mae y tystion? Galwer hwy. Gwir fy mod yn hòni rhyddid barn wrth ddewis fy nghrefydd; ac yn ol y ffordd y maent hwy yn ei galw yn heresi yr wyf fi yn addoli Duw fy nhadau.

TERTULUS. Ardderchocaf raglaw! Y mae—y mae—y mae—y mae Paul——

FFELIX. Y mae Paul yn beth? Gan nad oes gan neb o honoch ddim i'w ddweyd yn ei erbyn, ac na fedrwch alw tystion, rhaid oedi y prawf nes daw Lysias i lawr. Boed i'r canwriad hyd hyny gadw Paul mewn carchar, a gadael rhyddid i'w gyfeillion ddyfod ato a gweini iddo.

PAUL. Derbynied y rhaglaw fy niolch.

FFELIX (Wrth ei wraig). Fy anwyl Drusila, ni welais erioed y fath garcharor wrth y fainc a heddyw. Iuddew o genedl, a Christion mewn crefydd ydyw. Buasai yn dda genyf gael cyfle i'w wrando yn esbonio ei ffydd yn fanylach.

DRUSILA. Buasai yn dda genyf finau; ac y mae efe yn un o'n cenedl ni. Clywais lawer am ei grefydd, ond ni ddarfu i mi ei deall. Gwell i ni ei wahodd i ddod yma ryw ddiwrnod.

CYFAILL. Edrych ati, Paul, y mae gwahoddiad i ti i fyned i'r palas i bregethu i'r rhaglaw a Drusila. Ceisia

bregethu yn lled esmwyth, pe byddit yn gwenieithio; gall hyn fod yn fantais i ti erbyn dydd y prawf.

FFELIX. A wnai di, Paul, bregethu i ni, ac esbonio dy ffydd?

PAUL. Gwnaf, ardderchocaf raglaw a'i briod. Cymeraf yn destyn, "Gyfiawnder, dirwest, a'r farn a fydd." Peth annhraethol bwysig yw i farnwr fod yn gyfiawn a diargyhoedd ei hunan, canys y mae barn i fod, pan fydd pob barnwr yn gorfod ymddangos o flaen Barnydd yr holl ddaear.

FFELIX. Taw, taw, Paul! Yr wyf yn crynu ac yn llewygu. Dos ymaith ar hyn o amser; galwn am danat eto. Ond gwrando, y mae genyf fi awdurdod i'th ollwng yn rhydd; a elli di roddi arian i mi am hyny?

PAUL. Na, prin wyf o arian; ac nid wyf am brynu fy rhyddid felly. Bydd wych, Ffelix; cawn gwrdd yn y farn.

## PEN. V.

### *Paul gerbron Ffestus ac Agrippa.*

AGRIPPA. Dyma Ffestus wedi cael ei anfon o Rufain yn rhaglaw yn lle Ffelix; a chan fy mod inau yn frenin yn lle Herod, buasai yn dda i mi a'm chwaer Bernice fyned i'w gyfarch. Boed oes hir i ti, Ffestus. Dymunwn i ti raglawiaeth lwyddianus.

FFESTUS. Diolch i ti, O! frenin; ac y mae yn dda genyf gael ymgynghori am fater neillduol. Y mae yma ryw ddyn rhyfedd wedi ei adael yn y carchar gan Ffelix. Dywed yr Iuddewon ei fod yn droseddwr mawr, ac yn haeddu marw. Buont yn ceisio ei gael yn euog yn Sanhedrim Jerusalem; a daethant yma ddwywaith yn llonaid y llys, a'u dadleuwr gyda hwy. Ond yr oedd y carcharor ei hunan yn eu trechu. Barnodd Lysias, Ffelix, a minau, nad oedd efe wedi gwneud dim yn haeddu angeu na rhwymau, nac wedi gwneud dim yn erbyn cyfraith Rhufain. Y mae efe wedi apelio at Cesar; ac nis gwn pa achwyn i'w roddi yn ei erbyn wrth ei anfon at yr ymerawdwr; a dymunwn gael cyfarwyddiadau dy fawrhydi.

AGRIPPA. Gan fod y carcharor mor ddysgedig a doniol, byddai yn dda genyf fi a'm chwaer Bernice ei glywed yn dweyd ei hanes ei hun a'i grefydd.

FFESTUS. Cewch ei glywed yfory.

AGRIPPA. Foneddigion, da genyf fi a'm chwaer ddyfod

i'ch plith, a gweled y llys mor llawn o bendefigion a phencadbeniaid. Deallwyf fod yma ryw garcharor hynod; byddai yn dda genyf ei glywed yn siarad.

Ffestus. Y mae cenad i ti, Paul, ateb drosot dy hun yn nghlyw y brenin.

Paul. Yr wyf yn teimlo yn ddedwydd, O! frenin Agrippa, i gael estyn fy llaw, ac amddiffyn fy hun ger dy fron di; canys wedi dy fagu yn mhlith yr Iuddewon, ac yn adnabod eu defodau, byddi yn brofiadol o'r hyn a ddywedwyf. Y mae yr Iuddewon oll yn gwybod fy muchedd i o'm mebyd. Gwyddant mai yn ol y sect fanylaf o'u crefydd hwy y bum i byw yn Pharisead. Gwnaethum fy ngoreu yn erbyn Iesu o Nazareth, ei egwyddorion, a'i bobl. Medrwn gydymdeimlo am hyny â'r creulonaf o'm herlidwyr. Ond prin y rhaid i mi adrodd i ti, O! frenin, y modd y'm cyfarfyddwyd gan Iesu ar y ffordd ger Damascus. Hysbyswyd y pryd hyny y byddai yn rhaid i mi fod yn weinidog i'r Cenhedloedd; ac ni bum anufudd i'r weledigaeth nefol. Dechreuais bregethu yn Damascus; aethum oddiyno drwy Arabia, a daethum yn ol i Jerusalem; ac wedi hyny at yr holl genhedloedd. Tystiolaethais i fychain a mawr, heb ddweyd dim yn amgen nag a ddywedasai Moses a'r proffwydi, y dyoddefai Crist, y byddai yn gyntafanedig o'r meirw, ac y dangosai oleuni i'r bobloedd a'r cenhedloedd.

Ffestus. Taw, Paul, y mae dy ddysg yn dy ynfydu.

Paul. Na, nid wyf yn ynfydu, O! ardderchocaf Ffestus; geiriau gwirionedd a sobrwydd wyf yn eu hadrodd. Y mae Agrippa yn gwybod fod y proffwydi yn rhagddywedyd am Grist, onid wyt ti, frenin? Mi wn dy fod.

Agrippa. Yr wyt o fewn ychydig i'm henill i fod yn Gristion.

Paul. Myfi a ddymunwn ar Dduw dy fod ti, a phawb sydd yn fy ngwrando, yn gyfryw ag wyf fi, ond y rhwymau hyn.

Y Brenin a'r Llys. Gallesid gollwng y dyn yma ymaith, oni buasai ei fod wedi apelio at Cesar.

---

## PAUL, ONESIMUS, A PHILEMON.

Philemon i.

Paul. Pwy yw y crwydryn dyeithr yma sydd ar yr heol?

ONESIMUS. Onesimus yw fy enw, syr.

PAUL. O ba le y daethost di?

ONESIMUS. Daethum o Colosa yn Phrygia. Caethwas oeddwn i foneddwr yno a elwid Philemon.

PAUL. Yr wyf yn gydnabyddus a hwnw; bum yn cydweithio ag ef. Y mae yn weinidog, onid yw, a'r eglwys yn cyfarfod yn ei dy?

ONESIMUS. Ydyw, syr; er na bum i ddim yn aelod o'r eglwys.

PAUL. Pa fodd y bu i ti ddyfod oddiwrtho?

ONESIMUS. Caethwas oeddwn syr, ac mi a ddiengais.

PAUL. A ddarfu i ti ddwyn rhywbeth oddiarno?

ONESIMUS. Na, ni ddygais ddim ond fy hun. Yr oeddwn yn meddwl fod genyf hawl ynof fy hun.

PAUL. Na, nid oedd genyt hawl ynot dy hun, gan fod Philemon wedi dy brynu. Ond pa fodd y daethost i Rufain?

ONESIMUS. Yr oeddwn am adael Colosa, ac wedi clywed y gallaswn gael gwaith a chyflog yma, mi weithiais fy ffordd mewn llong dros fôr Adria.

PAUL. A gefaist ti waith?

ONESIMUS. Naddo, yn wir, syr; ac y mae arnaf eisieu bwyd.

PAUL. A fuaset yn cyflogi i weini ychydig ar hen wr fel myfi?

ONESIMUS. Buaswn yn union, am y cyflog a welsai efe yn dda roddi.

PAUL. Tyred gyda mi i'r ty. Paul yw fy enw, ac yr wyf yn garcharor yn Rhufain am bregethu Iesu Grist. Nid ydynt yn fy nghadw yn y carchar; yr wyf yn cael bod fel hyn yn fy nhy fy hun; ond ni chaf ddianc o'r ddinas. A ydwyt ti yn Gristion?

ONESIMUS. Nac wyf fi. Clywais lawer o son am Grist yn nhy fy hen feistr. Byddai efe yn ei bregethu, ac arferent gyfeillachu, gweddio, cymuno, &c., yn y ty; ond nid oeddwn i a'm cyd-gaethweision yn gwneud nemawr sylw o honynt, a'u gwawdio y byddem yn eu cefnau.

PAUL. Medraf fi gydymdeimlo â thi. Clywais inau lawer o bregethu am Grist cyn i mi gredu ynddo, ac yr oedd yn gas gan fy nghalon glywed son am dano. Cymerais yn fy mhen ei erlid, drwy erlid pawb fyddai yn credu ynddo; a phan oeddwn yn myned i Damascus i wneud hyn, daeth i'r

cyfarfod ar y ffordd; ac yn lle fy nharo, rhoddodd gusan i mi; ac er hyny yr ydym yn ffrindiau, ac yn myned fwyfwy felly o hyd. Cynghorwn dithau i astudio ei gymeriad.

ONESIMUS. Gwnaf, gyda phleser, syr; efallai y caf ambell wers gan fy meistr.

PAUL. Cai, dyna fy ngwaith i. Nid wyf fi yn cymeryd arnaf wybod dim ond "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio;" ac nid wyf fi yn ymffrostio mewn dim ond yn "Nghroes ein Harglwydd Iesu Grist."

ONESIMUS. Yr wyf yn meddwl fy mod wedi ei adnabod ef, grym ei adgyfodiad, a chymdeithas ei ddyoddefiadau; ac yr wyf yn gobeithio fy mod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth ef; a dymunwn ei wasanaethu, a gwasanaethu ei achos, a bod yn well gwas i fy meistr.

PAUL. Bydd yn ddrwg genyf dy golli, Onesimus; ond yr wyf yn meddwl mai dy ddyledswydd yw myned yn ol at dy hen feistr; canys gan ei fod wedi dy brynu, ei eiddo ef ydwyt.

ONESIMUS. O! fy meistr newydd anwyl, paid a fy ngyru yn ol; bydd fy hen feistr wedi fy fflangellu a'm halltudio. Gwell genyf dy wasanaethu di byth am ddim.

PAUL. Na, nid yw crefydd Iesu Grist yn caniatâu i mi dy gadw, gan mai eiddo gwr arall ydwyt ti; ac mi ysgrifenaf lythyr i ti roddi i dy hen feistr, a daw Tychicus gyda thi. Ac y mae genyf lythyr arall eisieu ei anfon at yr eglwys sydd yn ei dy.

"ANWYL PHILEMON,—Gwyddos fy mod i yn garcharor yn Rhufain, ac yn ddamweiniol ar yr heol, cyfarfyddais â dy hen gaethwas Onesimus. Dywedodd ei hanes, ac addefodd nad oedd yn Gristion; ond enillais ef i fod. Yr wyf yn ei ystyried yn blentyn i mi. Y mae wedi gweini arnaf yn ofalus, ac y mae yn dda iawn genyf am dano; ond yr oeddwn yn tybied nad teg oedd i mi ei gadw, gan mai dy gaethwas di ydyw. Ac yn awr daw yn ol. Yr wyf yn gobeithio y maddeui iddo, ac y derbyni ef yn garedig er fy mwyn i. Derbyn ef yn union fel y derbyniasit fi; ac os yw yn dy ddyled o ddim, myfi a'i talaf Gwna lawer gwell gwas i ti yn awr na pham oedd yna o'r blaen; ond derbyn ef, nid fel gwas yn unig, ond fel brawd yn yr Arglwydd. Y mae tymor fy ngharchariad yn Rhufain yn mron ar ben. Bwriadaf dalu ymweliad â Colosa: parotoa i mi lety. Cofia fi at Timotheus yn garedig, at Apphia, ac Archippus, a'r eglwys sydd yn dy dŷ. Yr wyf yn gweddio llawer drosoch.—PAUL Y CARCHAROR."

PHILEMON. Dyna Onesimus wrth y drws! y crwydryn drygionus! Cymerer ef i fyny, a rhwymer ef. Ysbeiliodd

fi o flynyddoedd o'i wasanaeth, ac aethum i lawer o draul a thrafferth i ymofyn am dano.

ONESIMUS. A wel fy hen feistr yn dda ddarllen y llythyr yma? A dyma lythyr arall at eglwys Colosa sydd yn dy dŷ.

PHILEMON. Y mae yn ffiaidd genyf dderbyn llythyr o dy law, ond myfi a agoraf hwn, am y tybiaf fy mod yn adnabod y llawysgrif.

ONESIMUS. Diolch i ti, fy hen feistr; nid wyf am ddianc. Byddaf yn foddlon i dy weision fy rhwymo wedi i ti ddarllen y llythyr.

PHILEMON. Nid all fod twyll yn y llythyr, canys yr wyf yn adnabod llawysgrif yr apostol Paul. Pa fodd y bu i ti daro wrtho?

ONESIMUS. Wedi i mi ffoi, yr oedd arnaf eisieu cael rhyw ffordd i enill fy mwyd; a dywedwyd y buaswn yn ddigon pell oddiwrth fy hen feistr, ac yn debyg o gael gwaith yn Rhufain; a llwyddais i fyned yno dros fôr Adria. A phan oeddwn yn yr heol, yn newynog, ac yn ymofyn am waith, pwy a ddaeth i'm cyfarfod, ond Paul; ac mae efe, mi wn, yn y llythyr, yn dweyd fel y bu; canys darllenodd y llythyr i mi.

PHILEMON. Ni allaf lai na chusanu y llythyr, er mwyn yr ysgrifenydd a'i gynwysiad. A thi a welaist, ac a fuost yn gwasanaethu Paul! Pa fodd y mae efe yn edrych?

ONESIMUS. Y mae yn edrych yn dda, ond y mae yn heneiddio. Geilw ei hun "Paul yr hynafgwr."

PHILEMON. Wel, y mae eisieu bwyd arnat ti; tyred i fewn; cai swpera heno gyda'r teulu, ac nid gyda'r gweision.

ONESIMUS. Diolch i fy hen feistr. Nid oeddwn yn dysgwyl y fath fraint. Yr wyf yn foddlon i fod gyda'r gweision: arosaf yma byth, os caf, a gwasanaethaf di yn well nag o'r blaen.

PHILEMON. Y mae yr eglwys sydd yn fy nhy yn cyfarfod heno i weddio, cawn dy gwmni a dy weddi.

ONESIMUS. Diolch i ti, O! Arglwydd, am fy arwain i Rufain, ac i mi daro yno wrth yr apostol Paul, ac am i ti dueddu ei feddwl i bregethu Iesu Grist i mi, a thueddu fy meddwl inau i'w dderbyn; a diolch i ti am fy nwyn yn ol at fy hen feistr. Gwel yn dda i ofalu am Paul yn Rhufain, a'i ddwyn i letya yma, yn ol ei fwriad. A chymhwysa ni oll i gael ein derbyn at Iesu Grist i'r nef, Amen.

PHILEMON. Diolch i ti, O! Arglwydd, am y fath gyfarfod yma heno. Diolch i ti dros fy mrawd Onesimus, am iddo gynt ffoi oddi yma, gan iddo yn ei grwydriadau gyfarfod Paul a'i Waredwr; a diolch i ti am ei dywys yn ol yma. Dal ef, O! Arglwydd, dal ef hyd y bedd. O! dal ef, a gwna yr holl weision yma yn debyg iddo. Amen ac Amen.

---

## Y DDADL HYFRYD YN Y NEF.

"Canys ni chymerodd efe naturiaeth angylion; eithr hâd Abraham a gymerodd efe."—PAUL.

AMCAN yr apostol yw dangos fod y natur ddynol wedi ei dyrchafu yn uwch na'r natur angylaidd. Rhydd amryw resymau yn y benod flaenorol; ond y cryfaf, efallai, yw yr un a ddewisasom fel ein harwyddair, sef, mai "hâd Abraham a gymerodd efe." Gan fod Paul yn canmol ei natur ef, byddai yn naturiol i Michael yr archangel ganmol ei natur yntau. Goddef y penodau cyntaf o'r Hebreaid i ni ddychymygu dadl hyfryd rhwng Angel a Sant yn nghylch dyrchafiad eu natur. Dacw y ddau ar yr esgynlawr, a'r orielau yn llawnion o edrychwyr.

ANGEL. *Yr wyf fi yn hyn na thydi.* Myfi yw plentyn hynaf y Duwdod. Mae nefoedd a daear yn cydnabod y dylai henafiaeth gael parch. Yr wyf fi yn cofio yn mhell cyn dy eni di. Hynach na thydi yw y goleuni a'r tywyllwch, y môr a'r tir, yr haul a'r lleuad, y ffurfafen a'i holl deulu, y môr-feirch mawrion a'r anifeiliaid, y coedydd a'r llysiau. Ond yr wyf fi yn hŷn nag un o honynt hwy. Gofynai Duw i Job,—"Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear?" Nid yn unig pa le yr oedd dy berson di, ond pa le yr oedd dy *natur* di? Ah! yr oedd heb ei geni. Ond yr oeddwn i yn fyw y pryd hwnw—"Pan gydganodd ser y boreu, ac y gorfoleddodd holl feibion Duw." Ataf fi y cyfeirir yna. Yr wyf yn cofio y dydd y ganwyd dynoliaeth. Bum yn siglo y cryd iddi, yn ei mabandod, ac yn ei dysgu i gerdded, gan ei chymeryd erbyn ei llaw.

SANT. Nid yw yn cyfodi i wrthateb hyn. Cryma ei ben fel arwydd o gydsyniad.

ANGEL. *Cefais fy ngosod mewn lle prydferthach na thydi.* Cefais i ddechreu byw yn y nef, cefaist dithau ddechreu

byw ar y ddaear. Cefais i fy nghreu yn ymyl y llys brenhinol, cefaist dithau dy greu yn un o'r tiriogaethau pell. Gwir i ti gael dy roddi yn mharadwys y ddaear, ond gadawyd fi yn mharadwys y nefoedd. Gwnaeth Duw i'r Pison a'r Gihon, a'r Hidecel, a'r Euphrates, gyfodi yn dy ardd di; ond parodd i afon bur o ddwfr y bywyd, dysglaer fel grisial, darddu allan dan ei orseddfainc, a rhedeg drwy ganol fy ngardd i.

SANT. Cryma ei ben eto; ond sisiala mai tuag ato ef yr oedd yr afon hòno yn rhedeg.

ANGEL. *Yr ydym ni yn gryfach, yn gyflymach, ac yn lluosocach na chwi.* Darfu i un o honom ni mewn eiliad ladd cant a phedwar ugain a phump o filoedd o'r Assyriaid. Yr wyt ti yn rhy wan i beri i lon'd cae dy glywed yn darllen y testyn ddydd y gymanfa; ond pe cawn i ond cenad i roddi bloedd gwnawn i'r holl fyd fy nghlywed. Byddai careg fechan a syrthiai o'r mur yn ddigon i dy lethu di; ond medrwn i dderbyn mellten yn fy mreichiau, a chwareu â hi fel â baban. Gallwn i ehedeg o'r nef i'r ddaear ac yn ol, tra byddit ti yn croesi dy ystafell, neu yn cau amrant dy lygad. Ac y mae llawer iawn o honom ni—"Cerbydau Duw ydynt filoedd o angylion." Yr oedd yr aden a welodd Eliseus o'n byddin ni yn llon'd mynydd o "feirch tanllyd." A phe buasai y Ceidwad ond rhoddi yr awgrymiad, yr oedd "mwy na deuddeg lleng" o honom yn barod i weini iddo.

SANT. Dacw efe ar ei draed. Pwy ydyw? I ba oes y perthyna? Patriarch ydyw, ebe un. Apostol ydyw, ebe y llall. Ond llonyddwyd y gynulleidfa drwy i'r Cadeirydd floeddio—*Paul, awdwr y Llythyr at yr Hebreaid ydyw.*

PAUL. Anrhydeddus Angel! *Yr wyf braidd yn ameu dy haeriadau diweddaf.* Addefaf eich bod yn "gedyrn o nerth," ond mae eich bod yn gryfach na ni yn bwnc heb ei brofi eto; canys am y natur ddynol, fel y mae yn y *nefoedd*, yr ydym yn son. Dywedaist eich bod yn *gyflymach* na ni. Yr ydym ninau mor gyflym a meddwl. Medrem ddilyn y ser tanllyd cynffonog, a gadael y goleuni yn mhell ar ol. Ond i benderfynu y ddadl, myfi a ehedaf i Galfaria am y cyntaf a'r cyflymaf o honoch, a deuwn yn ol cyn i neb wybod ein colli. Ti a ddywedaist eich bod chwi yn *lluosocach* na ni. Esgusoda fi am ameu hyn. Pan ddisgynodd Duw ar Sinai yr oedd gydag ef "fyrddiwn o *saint*." Ni ddy-

wedaist eich bod chwi yn ddirifedi. Ond gwrando y cyfrif diweddaf a wnaed o honon ni. O bob un o'r llwythau "yr oedd deuddeng mil wedi eu selio." "Wedi hyn mi a edrychais ; ac wele dyrfa fawr, *yr hon ni allai neb ei rhifo*, o bob cenedl, a llwythau, a phobloedd, ac ieithoedd." Gan mai teulu yn cynyddu yw yr eiddom ni, a chan fod er hyn dros ddeunaw cant o flynyddoedd, Beth all fod ein rhifedi yn awr ? A beth fydd ein rhifedi cyn caniad yr udgorn ?

ANGEL. Rhoddaf i fyny ddadl y rhifedi. *Ond ni chollais i erioed fy nghymeriad fel tydi.* Yr wyt ti wedi bod yn euog o deyrnfradwriaeth. Sefaist dy brawf, a chafwyd di yn euog. Cyhoeddwyd dedfryd marwolaeth uwch dy ben. Gwelais di yn ymyl y dienyddle, a'th draed a'th ddwylaw yn rhwym. Ac ar ol trefnu i ti Feichiau am droseddu y cyfamod cyntaf, gwrthryfelgar a fuost wedy'n. Ond ni chafodd fy Nhad erioed achos i godi y wialen, nac i edrych yn ddu arnaf fi.

PAUL. Yr wyt ti, Angel, fel pe byddit yn dewis anghofio mai am y *natur* y dadleuir, ac nid am *bersonau*. *Mae dy natur dithau wedi colli ei chymeriad.* Gwrthryfelodd brodyr i ti yn y nefoedd, er eu bod yn ymyl yr orsedd. Maent yn y carchar y mynyd yma yn cael eu "cadw mewn cadwynau tragwyddol hyd farn y dydd mawr." Tydi gollodd dy gymeriad gyntaf, ac a'm hudodd i. Wedi bwrw dy natur di dros gaerau y ddinas, ni edrychodd Duw byth ar dy ol â golwg o dosturi. Nid oes un o'th deulu a syrthiodd wedi bod yn werth ei godi.

ANGEL. Wel, *ni lychwinais i fy ngwisg fel tydi.* Mae dy wisg di, ddynoliaeth, wedi ei thrybaeddu mewn pechodau, fel nad oes neb a wyr beth yw ei defnydd, na pha fath oedd ei lliw ar y cyntaf. Ond edrych ar fy ngwisg i. Mae mor lân ag oedd chwe mil o flynyddau yn ol. Mae can wyned a phan wisgodd santeiddrwydd hi am danaf fi gyntaf.

PAUL. Yr ydwyt, Angel, wedi anghofio eto mai am ddynoliaeth yn y nefoedd yr ydym yn son. *Gan ba un o honom y mae y wisg lanaf heddyw yw y pwnc.* Dywedir am y dyrfa ddirifedi eu bod wedi eu "gwisgo mewn gynau gwynion"—wedi "eu golchi a'u cànu yn ngwaed yr Oen." Ni waeth pa fodd y cànwyd fy ngwisg i, pa un wynaf yn awr yw y mater ? Yr wyf yn foddlon i sefyll wrth dy ochr, fel y caffo ein holl wrandawyr fantais i'n gweled rhyngddynt â'r haul. Pwy wel frycheuyn, neu grychni, neu ddim o'r

cyfryw ar fy ngwisg? Estyn allan dy fraich, Angel. Moes weled llawes dy wn gwyn wrth ochr fy un i. Pa un wynaf? Gadawer fod dy un di mor laned. Pa un yw y lliain meinaf? Yn mha un y gwelir mwyaf o ddwyfoldeb! Pa un yw y debycaf i wisg y Gwr sydd ar yr orsedd?

ANGEL. Rhaid i mi dewi yn nghylch fy ngwisg. *Ond yr wyf wedi bod o fwy o wasanaeth i fy Meistr na thydi.* Bum ar neges ganwaith o'r nefoedd i'r ddaear dan yr hen oruchwyliaeth. Bum yn dwyn cenadwriaethau lawer gwaith i amrai o'r patriarchiaid—ac yr oeddwn i ar fy ngoreu pan foddwyd y byd, pan losgwyd Sodom, pan holltwyd y môr, a phan gyhoeddwyd y ddeddf ar Sinai. Pan anwyd y Messiah, bum i yn canu iddo. Pan chwysai yn yr ardd, bum i yn gweini iddo. Pan gyfodai o'r bedd, myfi oedd yn treiglo y maen. A phan esgynai, buom ni yn osgorddlu iddo. Ar ol hyn, anaml y darfu i ni *ymddangos* i breswylwyr y ddaear. Ni oddefir i ni groesi yr afon. Ond y mae addewid y cawn ddyfod yn un dorf y dydd diweddaf. Daw ein Brenin gyda'i "holl angylion sautaidd." Un o honom ni fydd yn chwythu yr udgorn, ac yn agor dorau y bedd.

PAUL. Yr wyf yn ddiolchgar i ti, natur angylaidd, am dy barodrwydd i weini i'm natur i. *A gwas i mi wyt ti.* Anfonwyd di i wasanaethu, er mwyn y rhai a gânt etifeddu iachawdwriaeth. Gan hyny, dyro i fyny dy ddadl. "Nid yw y gwas yn fwy na'i arglwydd." Gwyddost wneud trefn iachawdwriaeth er fy mwyn i. Er fy mwyn i y cynlluniwyd hi, ac y gosododd y Duwdod ei linyn mesur arni. Ni ddodasid darn o honi wrth y llall yn dragywydd oni buasai fi. A hon yw y drefn a sicrha dy ddedwyddwch dithau.

ANGEL. *Wel, ni wn i ddim am farw fel tydi.* Mae rhyw aelod i ti mewn poen, ac yn marw o hyd. Ni welais i yr un o'r holl seintiau ond rhyw Enoch ac Elias yn dyfod adref yn gryno. Mae rhan o honoch yma, a rhan arall yn pydru yn y bedd. Ond nid oes llwchyn a berthyna i un o'm teulu i yn y bedd. Ni bu un o honom farw erioed. Naddo, ni ddarfu nac angeu, na'i gyntafanedig, erioed fedru anadlu ar un o honom.

PAUL. Gwir. Ond os ca fy natur i y boen o farw, a'r anmharch o fyned i'r bedd, *ni cha dy natur dithau yr anrhydedd o godi.* Bydd gogoniant y codi yn ddigon o dâl am fyned i lawr, er gorfod gorwedd am ddeng mil o flynyddoedd. Bydd yr hyfrydwch o wisgo yn ddigon o wobr am y

drafferth o ddyosg. Edrychwn a fyddi di yn yr adgyfodiad. Myfi fydd testyn y sylw. Bydd heuliau yn edrych arnaf fi nes myned yn ddall. A bydd y Duwdod yn hoffi fy ngweled. Bu miloedd o seintiau bron cenfigenu wrth Enoch ac Elias am iddynt gael myned i'r nefoedd heb brofi marwolaeth, ond dyma ddydd y byddant hwythau yn eiddigeddu wrth y gwaelaf o'r saint. Hwn fydd y diwrnod y gwisgir yr hen fynwentau mewn gogoniant anghymharol. Ond, Angel! byddaf yn sicr o dy drechu. Yr wyf wedi cadw fy rheswm cryfaf hyd yr olaf. Edrych ar yr orsedd. *Natur pwy sydd yna?* "Wrth ba un o'r angylion y dywedodd efe un amser, Eistedd ar fy neheulaw?" Natur pwy a gymerodd efe? Yn llaw pa natur y mae y deyrnwialen? Ar ben pa natur y mae y goron? Dyna i ti wr yn fy natur i ar yr orsedd, nad wyt ti deilwng i ddatod carai ei esgidiau. Mae yn anrhydedd i dy goronau di gael gwneud palmant i'w draed.—Ar hyn eisteddai Paul i lawr yn nghanol banllefau seintiau ac angylion.

Cofiwn—Mai *dadl hyfryd* yw. Canodd yr hen brydydd yn iawn am dani, pan ddywedai :—

"Os oes rhyw ddadl hyfryd
Yn bod yn nhir y bywyd;
Rhyw unfryd gydfod."
"Un iaith fydd gan y dyrfa faith," &c.

Mae yno ddau enwad mewn gwirionedd, sef seintiau ac angylion. Mae pethau neillduol yn perthyn i bob un o honynt. Ond mae hyny yn fwy o bleser nag o ofid—crea fwy o gariad nag o gas. *Yno* y mae y "Cynghrair Efengylaidd." Maent yn hoffi sefyll ar yr un esgynlawr, pregethu o'r un pulpudau, canu yr un anthemau, ac eistedd bob yn ail o gylch bwrdd y wledd.

# CAN YR AFRADLON.

MESUR 40.

*Wedi ei chyfansoddi ar gais y "Band of Hope," a'r "Good Templars." I'w chanu ar Don 181, casgliad Stephen a Jones. Pe dewisid, gellid canu y ddau benill olaf ar " Poor Mary Ann."*

TAD. P'le mor hwyr y buost heno, John, John fy mab ?
Drwg dy fod fel hyn yn crwydro o dŷ dy dad ;
Mair a minau a'th ddysgwyliem, llif o ddagrau a dywalltem,
Drosot hefyd y gweddiem, O ! John ein mab.

JOHN. Yr wyf wedi hen ddiflasu ar dŷ fy nhad,
Myn'd mor gynar raid i'r gwely yn nhŷ fy nhad ;
Codi'n fore i weddio, a myn'd gyda'r dydd i weithio,
Gwell na hyny ydyw crwydro o dŷ fy nhad.

TAD. Y mae pawb yn bore godi yn nhŷ dy dad,
Er mwyn uno oll mewn gweddi yn nhŷ dy dad ;
Gweithio mae dy fam a minau drwy y dydd, gwna pawb ei ore' ;
Erbyn nos daw'r teulu adre i dŷ dy dad.

JOHN. Mae'r rheolau yn rhy gaethion yn nhŷ fy nhad,
'Does i'w yfed ond dw'r afon yn nhŷ fy nhad ;
Gwell gen i gael mwy o ryddid, cwmni llawen, meddwi hefyd ;
Af, os caf fy rhan o'r golud, o dŷ fy nhad.

TAD. Anhawdd genyf yw ymado â thi fy mab,
Och ! a raid i mi ffarwelio â thi, fy mab !
Gwel yn llifo loywon ddagrau dy hen fam a'th frawd a minau,
Wrth it' gychwyn oddi cartre ; ffarwel, fy mab.

JOHN. Ffarwel, fy nhad.

YR AFRADLON A'I CHWANT.

CHWANT. Rhydd wyt, John, o gaeth gadwynau hen dŷ dy dad,
Ac yn llawnion mae'th logellau o aur y wlad ;
Bellach rhedwn i gael meddwi, yna'n uniou i'r puteindy ;
Mentrwn floeddio a gorfoleddu,—ce'st ran dy dad.

AFAD. Anwyl chwant, yr wy'n dy garu, dof gyda thi ;
Os i wlad sydd bell y teithi, dof gyda thi ;
Am beth bynag y sychedi, ceisiaf beunydd dy ddiwallu,
Pa'm na allwn ddawnsio a chanu ? Dof gyda thi.

CHWANT. Awn yn gyflym y ffordd yma i wlad sydd bell,
Yn mlaen y rhedwn am y cynta' yn fwyfwy pell ;
Mynwn grwydro yr holl wledydd, chwilio am ddifyrwch beunydd,
Byth ni chollwn ar ein gilydd mewn gwlad sydd well.

AFRAD. Gyda'm chwant yn hir y crwydrais, mewn anial wlad,
Darfod mae y rhan a gefais yn nhŷ fy nhad;
Un dryll eto, pan y'i gwariaf, fydd y cwbl oll a feddaf;
Ac 'rwy'n llwm heb fawr am danaf, mewn anial wlad.

CHWANT. Gad i'm gael y geiniog olaf sydd genyt ti;
Mwy yw'm syched na phan gyntaf y gwelais di;
Gwell gwneud cam â phlant a theulu, bod heb ddillad ar y gwely,
Nag i chwant gael ei newynu,—na wrthod fi.

AFRAD. Dyma'r geiniog olaf i ti, beth mwy a wnawn?
Bellach bydd i ni newynu, beth arall wnawn?
Gwaith na chardod i ddyeithriaid ni ddysgwylir gan estroniaid;
Gwae fy chwant i mi dy weled, beth mwy a wnawn?

CHWANT. Beth mwy a wnaf!!

YR AFRADLON A'I DAD ETO.

AFRAD. Gan fy chwant y ce's fy siomi,—af at fy nhad,
Cibau moch a ro'dd i'm porthi,—af at fy nhad;
Nhad rydd i bob gwas sydd ganddo fara fwy na fedr dreulio,
Gall fy nerbyn inau eto,—af at fy nhad.

TAD. Y mae hiraeth ar fy nghalon am John fy mab!
Edrych byddaf yn hiraethlon am John fy mab!
Dacw rywun tebyg iddo, ond na fedd e' fawr am dano,
Mentraf allan i'w gofleidio. O! John fy mab.

AFRAD. A gaf fi ddyfod eto atat i dŷ fy—, fy—?
Ni ryfygaf ddweyd am danat, ti yw fy nhad;
Gwas heb gyflog os caf ddyfod, am fy mwyd o'm hing a'm trallod,
Bydd fy nef yn dechreu isod yn nhŷ fy—, fy—.

TAD. Taw, fy mhlentyn, mi'th gusanaf, wyt i'm yn fab,
Yn fy mynwes y'th gofleidiaf,— ti yw fy mab;
Mynaf iti y wisg oreu, ar dy law y rhof fodrwyau,
Croeso calon i ti adre',—ti yw fy mab.

CYDGAN.

Buom heno yn cydwledda yn llawen iawn,
Bloeddiwn eto, Haleluia, yn llawen iawn;
Yr afradlon a ddaeth adre', iddo rhoddwyd y wisg ore',
Gyda'i dad y mae yn eiste',—yn llawen iawn.

Arnom oll bu hiraeth chwerw am John y mab,
Tybiai pawb mai wedi marw 'roedd John y mab,
P'odd y peidiwn ganu a dawnsio, wrth ei weled yma heno,
Yn *ddirwestwr* wedi *seinio* wrth fwrdd ei dad?

BALA: ARGRAFFWYD GAN H. EVANS.

